yr Arglwydd ei hun, tra y dywed yr Epistol mai gan y rhai a'i clywsent y sicrhawyd yr efengyl i'r darllenwyr. Nid oes grym yn y ddadl hon. Ystyr yr awdwr ydyw ei fod ef a'i ddarllenwyr yn perthyn i'r ail neu y drydedd oes er pan sylfaenwyd yr eglwys yn y lle. Dadl arall gan Rendall ydyw fod rhai o arweinwyr yr eglwys yn Jerusalem wedi eu merthyru. Ond y cwbl a olyga yr awdwr yn xii. 4 ydyw nad oedd yr oes hono wedi gweled merthyru y saint. Dadl gryfach yn erbyn y golygiad mai at yr eglwys yn Jerusalem yr ysgrifenwyd yr Epistol ydyw y casgliad a dynir gan rai esbonwyr oddiwrth dlodi tybiedig yr eglwys hono. Gwel Act. xi. 30, &c. Ond angenoctid am dymhor oedd hwn, a achoswyd gan y newyn yn amser Claudius Cesar.

Gofynir weithiau, pa gyssylltiad allai fod rhwng "rhai o'r Ital" âg eglwys Jerusalem? Os ysgrifenwyd yr Epistol yn yr Ital, y mae yn hawdd ateb y cwestiwn. Anfonai y Cristionogion mewn un eglwys eu hanerch at eu brodyr mewn eglwysi eraill. Os nad o'r Ital yr ysgrifenwyd yr Epistol, y mae y gofyniad yn fwy anhawdd. Ond bydd yr un anhawsder i'w wynebu i ba eglwys bynag y bwriadwyd ef.

Os Barnabas oedd yr awdwr, gallwn roddi cyfrif boddhaol am y datganiad yn xiii. 19 o obaith yr awdwr y rhoddid ef iddynt drachefn yn gynt. Nid oes genym un sail i gredu fod unrhyw gyssylltiad wedi bod erioed rhwng yr eglwys yn Jerusalem ac Apollos. Ond gwyddom fod Barnabas wedi bod yn aelod amlwg o'r eglwys hono cyn myned i Antiochia, ac nid oes dim yn yr hanes yn gwarafun i ni dybio ei fod yn un o arweinwyr yr eglwys wedi iddo ef a Paul ymadael â'u gilydd. Yn Jerusalem yr oedd cartref ei nai Ioan, yr hwn a gyfenwid Marc, ac i dŷ mam Marc, chwaer Barnabas, yr aeth Pedr pan waredwyd ef o'r carchar. Gwel Act. xii. 12; xiii. 13; Col. iv. 10.*

---

* Mewn adolygiad ar Esboniad Westcott yn y *Speaker* (Mawrth 1, 1890) dadleua Dr. Fairbairn o Rydychain yn erbyn y golygiad mai at eglwys Jerusalem yr anfonwyd yr Epistol, am y rhesymau a ganlyn:—"Colonists idealise the institutions of the mother country more than its own people; and it is an idealised not an actual worship that is here described. . . . Such terms and metaphors as ii. 1; vi. 19; x. 33; xi. 13; xii. 1, 11, 23, imply the discipline and experiences of life in a Greek city by the sea." Y mae y rhesymau hyn yn gryf i brofi mai allan o Palestina yr oedd yr awdwr, ond nid ydynt yn cyffwrdd â'r ymholiad yn mha le y preswyliai yr Hebreaid. Yn wir y mae y ddadl flaenaf yn awgrymu y sylw mai amcan yr awdwr oedd codi yr Hebreaid i gymeryd golwg mwy *ideal* ar yr hen oruchwyliaeth a'r efengyl hefyd.

## III.—Pa bryd ac yn mha le yr Ysgrifenwyd yr Epistol?

Nid oes sicrwydd ar y naill na'r llall o'r cwestiynau hyn. Ond wrth geisio penderfynu yr amser mor agosed ag y gellir, rhaid i ni gymeryd bellach yn ganiataol rai o'r casgliadau yr arweiniwyd ni iddynt eisoes. Er angraifft, mi a gymeraf yn ganiataol mai at yr eglwys yn Jerusalem yr ysgrifenwyd yr Epistol, ac mai nid Paul oedd yr awdwr. Y mae amcan yr Epistol yn amlwg hefyd. Gorchwyl yr ysgrifenwr ydyw cymhell Hebreaid Cristionogol i beidio llwfrhau, ond i ymysgwyd oddiwrth bob cyssylltiad â defodau yr hen oruchwyliaeth, i dderbyn dedfryd eglur rhaglun-iaeth, i gredu mai mewn ffurf ysbrydol yr oeddent hwy, trwy lynu wrth yr Arglwydd Iesu, yn cael cyflawniad o addewid Duw i Abraham. Ni fynwn ymresymu oddiwrth fod yr awdwr yn defnyddio yr amseriad presenol pan yn cyfeirio at wasanaeth y cysegr; oblegid am y tabernacl yn yr anialwch y sonia o'r dechreu i'r diwedd, ac nid am y deml yn Jerusalem. Gwel ix. 25, &c. O ran hyny, pe y deml a ddesgrifid, ni byddai gronyn mwy o rym yn y ddadl hon; oblegid y mae Josephus hefyd, yr hwn a ysgrif-enodd ei *Hynafiaethau* ar ol dinystr Jerusalem, yn defnyddio yr amseriad presenol wrth ddesgrifio gwasanaeth y deml. Ar y llaw arall, nid yw yr amseriad gorphenol yn ix. 1 yn profi fod yr awdwr yn ysgrifenu ar ol dinystr Jerusalem. Y ddadl sydd yn penderfynu mai cyn dymchweliad y ddinas yr ysgrifenwyd yr Epistol ydyw amcan cyffredinol yr awdwr. Ni byddai yr Heb-reaid Cristionogol mewn unrhyw demtasiwn i droi yn ol at Iuddewiaeth ar ol dinystriad y deml. Er hyny, nid oedd yr am-gylchiad yn mhell. Rhybuddir hwynt fod y dydd yn nesau, ac nad oedd ond ychydig bachigyn eto cyn dyfodiad yr Arglwydd (x. 25, 37). Yr oedd Crist ei hun wedi dysgu ei ddysgyblion i weled yn ninystr Jerusalem un ffurf ar ddyfodiad Mab y dyn. Drachefn, dangosir oddiwrth gyfeiriadau yn yr Epistol fod ysbaid o amser wedi myned heibio er pan sylfaenwyd yr eglwys. Gwel v. 12; x. 22. Yr oedd yr arweinwyr cyntaf oll wedi marw. Gwel xiii. 7. Yn wir nis gallwn yn hawdd dybied fod neb, hyd yn nod Barnabas, er cymaint ei ddylanwad, yn ysgrifenu y fath Epistol at Eglwys Jerusalem tra yr oedd Iago yn fyw ac yn llywyddu ar yr eglwys hono. Merthyrwyd Iago, yn ol y traddod-iad a adroddir gan Hegesippus, ychydig cyn dinystr Jerusalem.

Nid oes sicrwydd, er hyny, am y flwyddyn. Gesyd rhai yr amgylchiad mor fore â 62 O.C., a rhai mor ddiweddar â 69 O.C. Ond y ddau ddyddiad rhwng pa rai yr ydym yn rhwym o osod yr Epistol ydyw merthyrdod Iago a dinystr y ddinas. Byddwn yn ddyogel wrth ddyweyd nas gall fod yr Epistol wedi ei ysgrifenu cyn y flwyddyn 62 O.C. nac ar ol gwanwyn y flwyddyn 70 O.C., pan warchaewyd ar Jerusalem gan Titus Vespasian. Yr oedd wedi ei dinystrio cyn yr Hydref. Dichon y gallwn ddyfod yn nes. Anturia Westcott enwi y flwyddyn 67 O.C. Tybiaf fod yn rhaid fod yr Epistol wedi ei ysgrifenu cyn dechreuad y rhyfel yn y flwyddyn hono, pan yr oedd Nero yn ymerawdwr ac yr anfonwyd Vespasian ganddo i ddarostwng y gwrthryfel; oblegid cawn yr awdwr yn datgan ei obaith y gallai ddychwelyd at ei braidd gyda Timotheus.

Gyda golwg ar y lle yn yr hwn yr ysgrifenwyd yr Epistol, nis gwyddom ddim i sicrwydd. Ni raid dyweyd nad oes unrhyw awdurdod yn yr ol-ysgrif yn niwedd yr Epistol hwn mwy nag yn y lleill: "At yr Hebreaid yr ysgrifenwyd o'r Ital, gyda Timotheus." Y mae yn sicr mai camgymeriad ydyw y rhan olaf o'r attodiad hwn. Nid Timotheus oedd cludydd yr Epistol; oblegid dywed yr awdwr ei fod yn bwriadu dyfod ei hun gyda Timotheus (xiii. 23). Ond am y rhan gyntaf o'r ol-ysgrif, ymddibyna ei gywirdeb ar yr esboniad a dderbynir ar y geiriau "y rhai o'r Ital" yn xiii. 24. Os yr ystyr ydyw "y rhai sydd yma gyda mi, wedi dyfod o'r Ital," y mae yn canlyn mai nid yn yr Ital yr ysgrifenai yr awdwr. Ond os, fel yr ymddengys i mi, yr ystyr ydyw "y brodorion Italaidd sydd yma gyda mi," y mae yn canlyn mai yn yr Ital yr oedd yr awdwr ar y pryd. Esbonia hyn y cyssylltiad agos sydd rhwng yr Epistol a'r eglwys yn Rhufain. Nid ydyw o gwbl yn annhebygol mai yn Rhufain yr oedd Timotheus wedi bod yn y carchar, a hyny, efallai, er amser yr erlidigaeth gyntaf dan deyrnasiad Nero yn y fl. 64 O.C.

## IV.—AMCAN YR EPISTOL.

Geilw yr awdwr ei hun yr Epistol yn "air yr anogaeth" (xiii. 22); ac y mae holl rediad y traethawd yn dangos, er ei fod ar brydiau yn llym, efallai yn fwy llym nag un rhan arall o'r Testament Newydd oddieithr rhai o eiriau yr Arglwydd Iesu, mai nid

ceryddu yw ei amcan, ond cymhell a chalonogi. Yr oedd yr Hebreaid hyn yn suddo yn raddol i syrthni a musgrellni hen ddyddiau; eu dwylaw yn llaesu a'u gliniau yn ymollwng. Eu perygl oedd llithro heibio i'r angorfa, heb nerth i gymeryd gafael sicr a bachu eu hangor yn y pethau sydd o'r tu fewn i'r llen; tybied eu bod eisoes wedi syrthio yn fyr o'r orphwysfa a addawsai Duw i'w bobl ac nad oedd Sabbath eto yn ol iddynt i edrych yn mlaen ato, megis yr edrychai y caethwas at flwyddyn y Jubili. Yr oedd rhai o honynt ar fedr bwrw ymaith eu hyder a'u proffes ac yn y diwedd wrthod yr hwn oedd yn llefaru. Desgrifir hwynt yn yr Epistol, nid fel dynion balch a difater, ond fel dynion siomedig a digalon. Yr un pryd rhybuddir hwynt fod llwfrdra yn arwain ryfyg, ac anobaith i chwerwder ysbryd. Pa beth, gan hyny, a gynyrchodd ynddynt y llwfrda hwn?

Siomwyd yr Iuddewon yn Nghrist pan yr oedd efe ar y ddaear; a thrachefn siomwyd y rhai o honynt a'i derbyniasant yn yr amgylchiadau a ddigwyddodd ar ol ei farwolaeth. Yr oedd siomiant y ddau ddosbarth yn yr un cyfeiriad, ond nid oedd yn hollol yr un peth. Disgwylient oll i'r Crist roddi drachefn y frenhiniaeth i Israel. Ond gwrthodwyd yr Iesu gan gorph y genedl am na ddaeth fel brenhin daearol i adfer iddynt eu hannibyniaeth cenhedlaethol; a dalient i ddisgwyl am y fath Grist â hyn hyd yn nod pan yr oedd Jerusalem yn yr ymdagfa olaf ac yn trengu o flaen eu llygaid. Am y rhai a gredasant yn yr Iesu, ac a ddalient i lynu wrtho er holl dramgwydd a chywilydd y groes, disgwylient hwythau iddo ddychwelyd i adfer a diwygio Iuddewiaeth. Onid addawsai yr Iesu ddychwelyd, ac onid oedd addewidion yn yr Hen Destament am amseroedd yr adferiad? Ond yr oedd y blynyddoedd yn rhedeg yn mhell, ac ni welsai neb arwydd Mab y dyn. I'r gwrthwyneb aethai Iuddewiaeth yn fwyfwy digrefydd, halogedig a chreulawn. Wrth glywed fod byddinoedd Vespasian, ac, ar ei ol ef, Titus, yn agoshau, gallent ddeall fod yr eryrod yn ymgasglu o amgylch y gelain, a bod y diwedd yn ymyl. Yn lle dychwelyd i adfer yr hen grefydd naill ai trwy wneyd Cristionogaeth yn rhan o honi ai ynte trwy ei gwneyd hi yn rhan o Gristionogaeth, naill ai trwy orfodi pawb a fynai fod yn Gristion i ddyfod i mewn i'r eglwys trwy borth Iuddewiaeth ai trwy wneyd Iuddewiaeth yn gyfundrefn mwy ysbrydol ac yn ymgorphoriad teilwng o'r efengyl, gadawai y Crist iddi drengu o honi ei hun. Yr oedd am-

gylchiadau yn penderfynu y cweryl yn nghylch Iuddewiaeth yn mhlith y Cristionogion eu hunain yn ffafr yr ochr a gynrychiolid yn arbenig gan yr Apostol Paul. Profent mai nid ffurf ddiwygiedig ar Iuddewiaeth oedd Cristionogaeth ac, yn mhellach, nas gallai Iuddewiaeth fyw yn hwy, ond y gallai eglwys Crist, wedi i Iuddewiaeth ddiflanu.

Ond os felly, pa gymhelliad a osodid o flaen yr Hebreaid Cristionogol i gofleidio Iuddewiaeth? Rhaid cofio mai tu fewn i'r Eglwys Gristionogol y ffynai y syniadau uchod. Dilynwyr yr Iesu oedd yn canfod y pydredd a'r farwolaeth a oddiweddasai Iuddewiaeth; a hyny gan mwyaf trwy ddylanwad yr Apostolion, y rhai a glywsent yr Arglwydd ei hun yn rhagfynegu y pethau a ddigwyddent cyn ei ail-ddyfodiad. I lygad yr Iuddew anghredíniol gwahanol iawn oedd yr olygfa. Ni bu gwasanaeth y deml erioed yn fwy dysglaer a phoblogaidd, na chrediniaeth y bobl yn nyfodol eu crefydd yn fwy dwfn, na'u zel dros Dduw yn fwy tanllyd. Yn yr hen amseroedd cadwent ar wahan oddiwrth y cenhedloedd. Nid oes darpariaeth o gwbl yn nhrefniadau Moses i argyhoeddi y byd o wirionedd Iuddewiaeth; ac ni olygai yr enw "proselyt" ddim mwy na bod cenedlddyn yn *dyfod* drosodd at Iuddewiaeth o hono ei hun heb ei gymhell. Yn nyddiau Crist a'i Apostolion yr oedd holl deimlad y genedl wedi newid. Ymdrechent broselytio.* Troisant eu gwasgariad yn mhlith y cenhedloedd yn fantais i enill dylanwad a phregethu Iuddewiaeth. Yn Jerusalem ei hun yr oedd plaid y Zelotiaid wedi cynyddu yn ddirfawr. Pe edrychid yn unig ar agwedd allanol pethau, nid hawdd fyddai credu fod Iuddewiaeth yn marw o ddarfodedigaeth tufewnol. O dan yr holl wychder yr oedd pydredd. Fflachiai y ganwyll cyn diffodd. Ffordd i guddio o olwg yr Iuddew ei hun y cancr marwol oedd yr holl ymddangosiad hwn o nerth ac effeithiolrwydd. Naturiol oedd i'r Cristionogion yn eglwys Jerusalem ddigaloni a theimlo tuedd gref i droi yn ol at Iuddewiaeth. Erbyn hyn yr oedd yr oll o'r Apostolion wedi ymadaw o'r ddinas, ac Iago wedi ei ferthyru. Diflanasai y gobaith o weled yr holl genedl gyda'u gilydd yn derbyn Cristionogaeth, a'r tebygolrwydd ydyw nad oedd ond

* Dywed un hanesydd Iuddewig yn Ffrainc, Salvador, mai y Cristionogion yn unig yn mhlith yr Iuddewon a geisient enill eraill at eu crefydd hwy. Ond prin y mae hyn yn gywir. Yr oedd proselytio yn perthyn i Iuddewiaeth er amser y Maccabeaid. Gwel Matt. xxiii. 15; Act. ii. 10; vi. 5; xiii. 43; yn enwedig xv. 21. Dywedir fod yn agos yr oll o'r benywod yn Damascus yn amser yr Apostolion yn broselytiaid.

ychydig, os oedd neb, yn ymuno â'r eglwys. Y mae yn sicr hefyd fod y credinwyr yn cael eu herlid gan yr Iuddewon, er nad oedd neb o'r oes hono eto wedi eu lladd. Teimlent fod yn rhaid un ai myned yn ol ai ynte tori pob cyssylltiad âg Iuddewiaeth. Amcan yr Epistol ydyw eu cymhell i beidio edrych drach eu cefn, ond troi ymaith oddiwrth yr hen gyfamod yn llwyr ac am byth.

Dengys annibyniaeth yr awdwr ar yr Apostol Paul mai Hebrewr o genedl, er nad o iaith, oedd yntau. Nid "Pauliniaeth" wedi dadblygu yw ei safle. Yn hytrach cynrychiola Gristionogaeth Iago, brawd yr Arglwydd, gyda'r holl oleuni cryf a deflid ar natur yr efengyl gan eangder syniadau a gwybodaeth brofiadol un o'r Hellenistiaid. Yr oedd ef ei hun eisoes wedi dihatru y dillad Iuddewaidd fu am amser yn wisg i Gristionogaeth, a dywed wrth ei frodyr oedd eto yn ofni y llam, nad oedd dim bellach i'w wneyd ond gadael dinas a gwersyll Iuddewiaeth. Prif syniad yr Epistol ydyw eu hargyhoeddi oddiwrth natur yr hen gyfamod ac oddiwrth eiriau eu Hysgrythyrau hwy eu hunain fod Iuddewiaeth yn agos i ddiflanu, i wneyd lle i'r hyn sydd yn aros.

Eglura iddynt, yn gyntaf, tra yr oedd datguddiad gwirioneddol o Dduw yn y prophwydi, mai y datguddiad yn y Mab yw y cyflawnaf a'r diweddaf a roddir i ddynion. I'r datguddiad hwn y mae y blaenaf yn dwyn tystiolaeth trwy ddatgan rhagoriaeth y Mab ar y creaduriaid uwchaf; ïe, yn wir, ei ddwyfoldeb tragwyddol.

Yn ail, awgryma yr Hen Destament fod gan Dduw amcan llawer eangach ac uwch na dim a gyrhaeddir trwy Iuddewiaeth. A gyfyngodd Duw ei sylw i Iuddewon? Neu ai trwy eu proselytio at Iuddewiaeth y trugarha Duw wrth genhedloedd y byd? I'r gwrthwyneb, yn narostyngiad a dyrchafiad Iesu y cyflawnir prophwydoliaeth y Salmydd am y ddynoliaeth yn gyffredinol. Y mae hâd Abraham yn yr ysbryd yn llawer iawn eangach na hâd Sara yn ol y cnawd. Y mae archoffeiriadaeth y Crist mor llydan â'r euogrwydd sydd yn gofyn ffyddlondeb i wneyd cymod i Dduw drosto ac mor ddwfn â'r trueni y mae eisiau cydymdeimlad i waredu o hono.

Yn drydydd, ystyr ysbrydol sydd i ddrychfeddyliau sylfaenol Iuddewiaeth, megis syniad Duw am y Sabbath. Ond nid yw Iuddewiaeth yn gallu sylweddoli ei syniadau ei hun.

Yn bedwerydd, yr oedd ei phrif ddrychfeddyliau yn bod cyn i Iuddewiaeth gael ei sefydlu. Y mae y Sabbath yn hŷn nag Iuddewiaeth; yr oedd Melchisedec cyn Aaron.

Yn bumed, rhagfynega y prophwydi eu hunain ddiflaniad yr hen gyfamod a dygiad i mewn un rhagorach.

Yn chweched, anhawsder mwyaf yr Hebreaid Cristionogol yw un o ragoriaethau penaf yr efengyl. Digalonent am na ddychwelasai Iesu i'r ddaear. Ond rhydd yr awdwr bwys mawr ar arosiad Iesu yn y cysegr nefol. Deuai allan oddiyno pe na byddai ganddo ond ffûg o aberth, fel yr aberth a offrymai yr archoffeiriad dan y gyfraith ar ddydd y cymod, neu pe na byddai ei aberth yn effeithiol ond am amser terfynol. Y mae ei arosiad yn y sancteiddiolaf yn profi fod ei waed yn wir a digonol aberth a bod ei rinwedd yn ymestyn dros holl ddynolryw hyd byth. Pan y daw allan o'r cysegr, daw fel barnwr a brenhin.

Yn seithfed, y casgliad ymarferol ydyw y dylai yr Hebreaid crediniol ddal i gredu, cymeryd gafael newydd a sicrach yn eu proffes, defnyddio eu rhyddid yn eofn i fyned i mewn i'r sancteiddiolaf ysbrydol, a sefyll yn ddewr dan bwysau eu profedigaethau trwy y ffydd hono sydd yn gweled ac yn sylweddoli yr Anweledig. Oblegid trwy y ffydd hon y derbyniodd saint Duw cyn rhoddiad y gyfraith ac yn ystod blynyddoedd meithion yr hen oruchwyliaeth dystiolaeth oddiwrth Dduw eu bod yn etifeddion ei addewid. Trwy yr un fath ffydd yr ymwrolodd Iesu ei hun dan waradwydd y groes. Gochelant hwythau, gan hyny, ysbryd dibris Esau; rhedant yr yrfa gan ystyried mai gosodiad Duw ydyw; ac ymostyngant i'w profedigaethau, gan gofio eu bod yn ddysgyblaeth Tad.

Yn wythfed, y mae y cyferbyniad rhwng yr hen gyfamod a'r cyfamod newydd yn gyffelyb i'r gwahaniaeth rhwng tymhestl Sinai a heulwen Sion;* a'r gwahaniaeth ydyw hwn. Y datguddiad ofnadwy o Dduw ar Sinai oedd yn galw am sefydliad aberthau yr hen oruchwyliaeth; ond y mae aberth cyflawn a pherffaith Crist yn y cyfamod newydd yn sail ddigonol i ddatguddiad o Dduw mewn maddeuant a chymundeb. Y mae holl fendithion y cyfamod eisoes o fewn cyrhaedd. Cwynai yr Hebreaid crediniol fod dyfodiad Iesu mewn gwendid a thlodi a darostyngiad

* Ystyr y gair Sion ydyw "heulog."

a marwolaeth yn groes i ragfynegiadau y prophwydi am ei ddyfodiad brenhinol a gogoneddus. Am beth amser ar ol ymadawiad yr Arglwydd o'r byd hwn, ceisiai yr Apostolion a'r holl gredinwyr ymdawelu yn y gobaith y deuai drachefn, yn ol ei addewid, a hyny ar fyrder, hyd yn nod cyn i'r genhedlaeth hono fyned heibio. Erbyn hyn yr oedd llawer yma a thraw, yn mhlith y Groegiaid hefyd, yn gystal ag yn mhlith yr Hebreaid, yn digaloni ac yn gofyn, rhai bron mewn gwatwar, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? Y mae ateb awdwr yr Epistol at yr Hebreaid yn ddeublyg. Yn gyntaf, efe a ddaw yn mhen ychydig bachigyn eto i ddial ei gam ar yr anffyddloniaid. Yn ail, y mae ystyr ysbrydol i ddyfodiad Crist; ac yn yr ystyr goreu hwn y mae pob pellder lle wedi ei ddiddymu. "Chwi *a ddaethoch* i fynydd Sion." Y mae y naill o'r ddau wirionedd hyn ar gyfer y llall. Oblegid cynwysa y cyntaf ddinystriad llwyr a bythol y deml weledig a dilead hollol yr hen gyfamod; ond cynwysa yr ail fod pob peth gwerthfawr yn yr oruchwyliaeth hono wedi ei gadw a'i ysbrydoli a'i anfarwoli yn y cyfamod newydd,—yr archoffeiriad, yr aberth, y cysegr, y gyfraith, y bobl sanctaidd, y Sabbath, a gwlad yr addewid.

Nis gwyddom beth fu effaith ysgrifenu yr Epistol. Ond nid yw o gwbl yn annhebygol mai yr Epistol cynhyrfus a chalonogol hwn a gymhellodd y Cristionogion yn Jerusalem i adael y ddinas, ychydig cyn dyfodiad y Rhufeiniaid, ac ymofyn am noddfa mewn trefan y tuhwnt i'r Iorddonen a elwid Pella yn Decapolis. Pa fodd bynag am hyny, y mae dylanwad yr Epistol wedi bod yn fawr ac yn arhosol ar yr Eglwys. Yr awdwr ardderchog hwn sydd yn benaf o holl ysgrifenwyr y Testament Newydd wedi diddyfnu meddyliau Cristionogion oddiwrth y disgwyliadau cnawdol am ddychweliad Crist i sefydlu brenhiniaeth ddaearol. Yn ystod yr oesau boreuol, pan yr oedd yr Epistol hwn megis dan gwmwl, heb ei gydnabod yn rhan awdurdodol o'r Testament Newydd, yr oedd yr eglwys yn ormodol o dan ddylanwad syniadau isel am y mil blynyddoedd. Pan gymerodd yr Epistol hwn ei le priodol ei hun, yn y dwyrain trwy ddylanwad Origen, yn y gorllewin trwy ddylanwad Awstin, fel un o gynyrchion dyfnaf a mwyaf arddunol yr oes apostolaidd, ciliodd y syniadau hyny i'r cysgod. Un o'r prif fendithion a geir o astudio y traethawd ydyw amgyffrediad eglurach o natur ysbrydol Cristionogaeth.

## V.—Dosraniad y Prof. Westcott o'r Aberthau.

Hwn yw y dosraniad goreu a welais eto o'r aberthau dan y gyfraith. Cefais ganiatad parod y Prof. Westcott i'w roddi yn y Llawlyfr. Dymunaf ei gydnabod yn ddiolchgar am ei garedigrwydd. (Gwel Esboniad Westcott ar yr Epistol, tud. 288.) Yn Gymraeg da genyf allu cyfeirio y darllenydd at gyfrol fechan ond rhagorol Dr. Owen Evans o Lundain ar "Yr Aberthau."

I. Y gwahanol fathau o aberthau:—

A. Aberthau a offrymid pan yr oedd y berthynas gyfamodol rhwng Duw a'r bobl heb ei thori:

1. Y poeth-offrwm. Lef. i. 3—17.
2. Yr aberth hedd, yr hwn oedd o dri math; sef,
    (1) Aberth diolch;
    (2) Adduned;
    (3) Rhodd o wirfodd. Lef. iii. 1—17; vii. 11—21.
3. Y bwyd-offrwm. Lef. ii. 1—16.
4. A bara gosod. [Exod. xxv. 23—30.]
5. Y blaen-ffrwyth.

B. Aberthau a offrymid gyda golwg ar droseddiad o'r cyfamod:—

1. Y pech-aberth. Lef. iv. 1—35.
2. Yr offrwm dros gamwedd. Lef. v. 15—vi. 7.

C. Ychwaneger y Pasg a'r gwahanol aberthau er puredigaeth, megis er puredigaeth y gwahanglwyfus (Lef. xiv.), er puredigaeth aflendid (Lef. xv.), ac er puredigaeth ar ol cyffwrdd â chorph marw (Num. xix. 11—22).

II. Y pethau a aberthid:—

1. Cynyrch y ddaear: gwin, olew, ŷd. Ni offrymid ffrwythau na blodau. Yr oedd yn ofynol fod llafur dynol wedi dwyn cynyrch y ddaear i'r ffurf yn yr hwn y gellid ei offrymu. Ni offrymid arogl-darth ar ei ben ei hun. Gwenith oedd yr ŷd a offrymid; nid llai nag omer o hono, sef yr hyn a fwyteid mewn diwrnod. Haidd oedd ysgub y blaenffrwyth, am mai yr haidd oedd gyntaf i aeddfedu. Ni dderbynid lefain; na mêl, yr hwn a offrymid gan y cenhedloedd i'r meirw.

2. Anifeiliaid: nid gwylltfilod, ond creaduriaid gwâr, megis bustych, defaid, geifr, colomenod, y rhai oeddynt ymborth dynion. Yr oedd yn ofynol iddynt fod yn berffaith-gwbl (Deut. xvii. 1; Lef. xxii.,) yn wrywiaid gan mwyaf ac, fel rheol, yn flwyddiaid. Helltid pob aberth. Anifeiliaid yn unig a offrymid yn yr aberthau dros bechod a thros gamwedd. Yn y poeth-offrwm a'r aberth hedd offrymid bwyd offrwm a diolch offrwm gyda'r anifail.

III. Dull offrymiad yr aberth:—

1. Gosodiad dwylaw yr aberthwr ar ben yr aberth. Yr oedd hyn yn ofynol gyda golwg ar bob aberth, oddieithr adar ac yn y Pasg. Trwy y ddefod hon golygid fod yr aberth yn cynrychioli yr aberthwr.

2. Lladdiad yr aberth. Lleddid ef, fel rheol, gan yr aberthwr pan offrymai aberth dros ddyn, er fod awdurdod i'r offeiriad i ladd yr anifail. Pan offrymid aberth dros y genedl, lleddid ef gan yr offeiriaid. Ar ddydd y cymod lleddid yr aberth gan yr arch-offeiriad. Lef. xvi. 15. Yn nglanhad y gwahanglwyfus hefyd lleddid yr aberth gan yr offeiriad, am fod yr aberthwr ei hun y tu allan i'r gwersyll. Lleddid pob aberth mor ddiboen i'r anifail ag oedd bosibl. Nid poen yr anifail a'i gwnai yn gymeradwy.

3. Derbyniad y gwaed gan yr offeiriad, fel moddion apwyntiedig y cymod. Lef. xvii. 11. Weithiau cymysgid y gwaed â dwfr. Lef. xiv. 6.

4. Cymhwysiad y gwaed. Hwn oedd y rhan fwyaf arwyddocaol o'r aberth. Cymhwysid y gwaed gan yr offeiriaid yn unig, a hyny mewn pedwar dull:—

(1) Taenellid ef ar yr allor o amgylch. Lef. i. 5; iii. 2. Gwnelid hyn wrth offrymu y poeth-offrwm, y pech-aberth, a'r aberth dros gamwedd.

(2) Rhoddid ef ar gyrn allor y poeth-offrwm, a thywelltid y gweddill wrth waelod yr allor. Lef. iv. 30. Gwnelid hyn pan bechai un o bobl y wlad (ar ymyl y ddalen, "un o'r werin.") mewn anwybod. Lef. iv. 27.

(3) Cymerid ef i'r cysegr, a rhoddid peth o hono ar gyrn allor yr arogl-darth, a thaenellid peth o hono ar y wahanlen seithwaith. Tywelltid y gweddill wrth droed allor y poeth-offrwm. Lef. iv. 6, 7, 17, 18. Gwnelid hyn os offeiriad eneiniog a bechai, neu os pechai holl gynulleidfa Israel, mewn anwybod.

(4) Cymerid ef i'r sancteiddiolaf, a thaenellai yr arch-offeiriad ef â'i fys ar y drugareddfa seithwaith. Wedi hyny rhoddid ef ar gyrn allor y poeth-offrwm. Lef. xvi. 14—19. Gwnelid hyn ar ddydd y cymod.

5. Yr hyn a wnaent i'r anifail. Wedi y cymodiad trwy y gwaed, rhoddid yr anifail i Dduw trwy dân. Cedwid y tân i gyneu ar yr allor bob amser. Lef. vi. 13. Llwyr-losgid y poeth-offrwm a'r offrymau y cymerid eu gwaed i'r cysegr neu i'r sancteiddiolaf (sef y pech-aberthau dros yr offeiriad neu y gynulleidfa). Lef. iv. 11, 21; xvi. 27; Heb. xiii. 11. Felly hefyd yr offrymau di-waedlyd dros yr offeiriaid. Bwytai yr offeiriaid neu yr aberthwr yr offrymau eraill, ar amodau neillduol. Yma dylid sylwi ar ddwy ddefod oeddynt, yn ol pob tebyg, yn perthyn yn unig i'r Iuddewon, sef "cyhwfanu" yr offrwm ger bron yr Arglwydd (Exod. xxix. 24—28; Lef. vii. 34; viii. 27—29; xxiii. 11, 20; Num. v. 25) yn "offrwm cy-hwfan;" a "dyrchafu" yr offrwm (Num. xv. 19—21; xviii. 26—32) yn "offrwm dyrchafael."

6. Yr hyn a fwyteid o'r aberthau. Gwnelid defnydd mewn gwahanol ffyrdd o'r rhanau hyny o'r aberth na fyddent wedi eu llwyr-losgi.

(1) Bwytai yr offeiriaid yn unig yn y cysegr yr offrymau diwaedlyd, oddieithr y rhanau a losgid yn aberth tanllyd i'r Arglwydd. Lef. vii. 9, 10; x. 12, 13.

(2) Bwytai yr offeiriaid yn y cysegr gîg yr aberth dros gamwedd a'r aberth dros bechod un o'r bobl. Lef. vi. 25—30; vii. 6—8; x. 16—18.

(3) Gyda golwg ar yr hedd aberth o ddiolch bwytai yr aberthwr y gweddill o fewn amser penodedig ac mewn lle penodedig, gyda'i deulu a'i gyfeillion, a'r tlodion. Lef. vii. 15, 16; xix. 5, 6; xxii. 29, 30; Deut. xii. 6—14.

## VI.—Pynciau ac Adranau.

Ceisiodd Pwyllgor yr Undeb genyf dynu allan restr o gyfeiriadau at ranau eraill o'r Ysgrythyr, er mwyn y dosbarthiadau hyny all fod yn yr Ysgolion yn analluog i dreulio dwy flynedd yn fuddiol yn maes yr Epistol ei hun. Credaf y bydd astudio y rhanau eraill hyn yn adeiladol i'r holl ddosbarthiadau. Ond ychwanegais nifer o bynciau dyddorol a phwysig sydd yn dal cyssylltiad llai uniongyrchol â'r Epistol. Rhoddais gyfeiriadau at Ysgrythyr gyda rhai o honynt. Gadewais eraill yn fwriadol heb gyfeiriadau, gan obeithio fod yr athrawon, o'r hyn lleiaf, yn ymdrechu bod yn gyfarwydd yn eu Biblau o Genesis hyd Lyfr y Datguddiad. Un o'r diffygion penaf mewn lliaws o Ysgolion ydyw dieithrwch yr athrawon i'r Bibl yn gyffredinol.

### *PEN. I.*

1. Y Mab a'r datguddiad o Dduw ynddo: Matt. xi. 25—30: Ioan i. 1—18; iii. 1—21, 27—36; vi. 44—69; viii. 28—32; xii. 35—50; xvii. 6—8, 26; Phil. ii. 6—11; Col. i. 15—20.

2. Rhagoriaeth Crist, fel Mab Duw, ar yr angelion: Salm ii. 6—12; Eph. i. 20—23; yn nghyd â'r dyfyniadau o'r Hen Destament yn Heb. i.

3. Fod Crist yn Dduw: Ioan i. 1—14; Rhuf. i. 2—5; Phil. ii. 6—11; 1 Tim. iii. 16; 1 Ioan i. 1—3.

4. Yr angelion yn ysbrydion gwasanaethgar; Matt. i. 20; iv. 11; xiii. 39; xvi. 27; xviii. 10; xxiv. 31; Luc i. 11; xvi. 22; xxii. 43; xxiv. 31; Ioan xx. 12; Actau i. 10, 11.

### *PEN. II.*

1. Y gwyrthiau fel prawf o wirionedd y datguddiad. Ioan v. 20, 36; x. 25, 38; Actau ii. 22.

2. Mawredd dyn fel creadur: Gen. i. 26; 1 Cor. xi. 7; xv. 27.

3. Ffydd Crist.

4. Gwir ddynoliaeth Crist: Ioan xix. 30; Gal. iv. 4, 5; Phil ii. 7, 8.

5. Beth a olygir wrth Salm Fessianaidd? Beth sydd yn penderfynu pa un a ydyw Salm yn Fessianaidd ai nad ydyw?

## *PEN III.*

1. Angreifftiau o ffyddlondeb Moses i Dduw.

2. Fod Crist wedi derbyn awdurdod am ei fod yn Fab: Salm ii.; xlv.; lxxii.; cx.; Esaiah ix. 6, 7; Luc i. 31—33; Eph. i. 20—22.

3. Angreifftiau yn hanes yr Israeliaid yn yr anialwch
   (1) o ffydd;
   (2) o anghrediniaeth.

4. Hanes y gwahanol amgylchiadau yn y rhai y gwrthododd [illegible] i blant Israel gael myned i mewn i Ganaan.

## *PEN. IV.*

1. Angreifftiau yn yr Hen Destament o gyhoeddi newyddion da i bechaduriaid, neu bregethu.

2. Hanes y Sabbath dan yr Hen Destament
   (1) yn ei sefydliad;
   (2) yn hanes y patriarchiaid;
   (3) yn nghyfraith seremoniol Moses;
   (4) fel rhan o'r ddeddf foesol;
   (5) yn yr esamplau a gofnodir o ddynion yn tori y Sabbath;
   (6) yn llyfrau y prophwydi;
   (7) yn yr Efengylau: syniad Crist mewn gwrthgyferbyniad i syniad y Phariseaid am y Sabbath.

Gen. ii. 3; iv. 3; viii. 10, 12; xxix. 27, 28; l. 3, 12; Exod. xvi. 23; xx. 8—11; xxvi. 23, 26; Esaiah lvi. 4—8; lviii. 13; Jer. xvii. 20—27; Ezec. xx. 12; Matt. xii. 5, 12; Marc iii. 4, Luc xiv. 1—14; Ioan vii. 23, 24; Actau xx. 7; 1 Cor. xvi. 2; Dat. i. 10.

## *PEN. V.*

1. Y gwahanol fathau o bechod yr oedd maddeuant am danynt dan gyfraith Moses.

2. Hanes yr arch-offeiriaid o Aaron yn mlaen, yn yr Hen Destament, gyda golwg yn neillduol ar unrhyw gyfeiriadau a geir (1) at eu hawdurdodiad ac (2) at eu cydymdeimlad.

3. Y cyferbyniad, can belled ag y daw hyny i'r golwg yn yr Hen Destament, rhwng yr arch-offeiriaid a'r prophwydi, o ran swydd ac o ran crefyddolrwydd personol a dylanwad.

4. Crist fel gweddiwr.

5. Crist yn ufuddhau.

6. Crist yn cydymdeimlo.

7. Crist yn datgan ei awdurdod, ac yn ymdeimlo â'r pwysigrwydd sydd yn ei osodiad gan Dduw.

8. Pa fodd y mae apwyntiad Crist i fod yn Waredwr yn profi ei apwyntiad i fod yn Arch-offeiriad?

9. Cynydd yr Iesu. Yn mha bethau y gallai ac yn mha bethau nis gallai gynyddu.

10. Dangoswch pa fodd yr oedd amgylchiad bywyd yr Iesu yn ddysgyblaeth ac yn berffeithiad arno i'w waith.

11. Ar adnodau 11—14 astudier Matt. xi. 25—30; xiii. 11—17; 1 Cor. ii. 6—iii. 2.

12. Pa mor bell y mae genym angreifftiau o Grist neu ei Apostolion yn cymhwyso eu hathrawiaeth i gyfarfod cyrhaeddiadau eu gwrandawyr?

## *PEN. VI.*

1. Athrawiaeth yr Ysgrythyr am Ragluniaeth Duw. A ddysgir fod ffrwythlondeb y ddaear yn ymddibynu ar fendith Duw? Gen. viii. 21, 22; 1 Sam. ii. 6, 7; Nehem. ix. 6; Job xii. 10; Salm xxxi. 15; lxvi. 7; lxxv. 6, 7; civ. 21—28; Dan. iv. 25, 35; Matt. v. 45; vi. 26, 30; x. 29; Actau xiv. 17; xvii. 25, 26; Col. i. 17.

2. Hanes y nerthoedd gwyrthiol yn yr oes Apostolaidd. Pa fodd y dylid eu dosranu? Marc xvi. 17, 18; Actau ii. 1—20; 1 Cor. xii. 1—31; xiv. 1—33.

3. Hanes cynydd y datguddiad a roddodd Duw i Abraham. Gen xii. 1—7; xv. 1—21; xvii. 1—22; xviii. 1—33; xxi. 12, 13; xxii. 1—19.

4. Hanes y syniad o "etifeddiaeth" yn yr Hen Destament.

## *PEN. VII.*

1. Beth yw alegori? Angreifftiau o alegori yn yr Ysgrythyr. Beth yw y gwahaniaeth rhwng alegori a dameg?

2. Hanes yr arferiad o dalu degwm yn yr Hen Destament.

3. Cyfeiriadau yn yr Epistol hwn ac Epistolau eraill at amgylchiadau bywyd yr Iesu ar y ddaear.

4. Angreifftiau yn yr Ysgrythyr o ddynion yn bendithio dynion.

5. Angreifftiau, heblaw Melchisedec, yn yr Hen Destament o offeiriaid y tu allan i urdd Aaron. Gen viii. 20; xiii. 4; xxvi. 25; xxxv. 1; Exod. xviii. 1, 12; Barn. vi. 19; xiii. 19; xvii. 5; 1 Sam. ix. 13.

6. Angreifftiau yn yr Hen Destament o'r offeiriadaeth a'r frenhiniaeth yn cyfarfod yn yr un person. 1 Sam. xiii. 9; 2 Sam. vi. 13; 1 Bren. ix. 25; 2 Bren. xvi. 12.

7. Y rhesymau dros y gwahanol enwau a roddir ar Grist yn yr Epistol. Yr enwau ydynt "Mab;" "y Mab;" "Mab Duw;" "Iesu;" "Iesu Grist;" "Iesu, Mab Duw;" "Crist;" "y Crist;" "yr Arglwydd;" "ein Harglwydd Iesu." Beth yw y gwahaniaeth rhwng awdwr yr Epistol hwn a'r Apostol Paul gyda golwg ar yr enwau ar Grist?

8. Hanes yr athrawiaeth o gyfryngdod rhwng Duw a dynion yn yr Hen Destament a'r Newydd.

9. Beth yw eiriolaeth? Hanes yr athrawiaeth am eiriolaeth Crist yn yr Efengylau a'r Epistolau. Luc xxiii. 34; Ioan xiv. 16; xv. 26; xvii. 9; Rhuf. viii. 34; xi. 2; 1 Ioan ii. 1.

10. Pa un ai cyfamod gweithredoedd ai cyfamod gras a roddwyd trwy Moses? Beth a olygir wrth gyfamod Sinai?

11. A fyddai yn gywir dyweyd mai *un* cyfamod yn unig a fu erioed ac a fydd byth rhwng Duw a dynion, a hwnw yn gyfamod gras, ac nad yw

yr hyn a elwir yn gyfamodau ond gwahanol oruchwyliaethau neu ffurfiau ar y cyfamod hwnw?

## *PEN. VIII.*

1. Yn mha nodweddion y mae Jeremiah, fel prophwyd, yn gwahaniaethu oddiwrth Esaiah?

## *PENODAU IX., X.*

1. Cymharer y desgrifiad o'r tabernacl a'i wasanaeth a geir yn yr Epistol hwn â'r desgrifiad sydd yn llyfrau Moses.

2. Am y tabernacl darllener fel y canlyn:

*a.* Y cyntedd: Exod. xxvii. 9—19; xxxviii. 9—31.
*b.* Allor y poeth-offrwm: Exod. xxvii. 1—8; xxxviii. 1—7.
*c.* Yr olchfa neu noe bres: Exod. xxx. 17—21; xxxviii. 8.
*d.* Y babell neu y tabernacl: Exod. xxvi. 1—30.
*e.* Llen y babell neu y gaeadlen: Exod. xxvi. 36, 37; xxvii. 16, 17; xxxvi. 37, 38.
*f.* Y cysegr: Exod. xxvi. 31; xxviii. 29; Lef. vi. 16; xvi. 2.
*g.* Y bwrdd a'r bara gosod: Exod. xxv. 23—30; xxxvii. 10—16; Lef. xxiv. 5—9; 1 Sam. xxi. 1—6; Matt. xii. 1—8.
*h.* Y canhwyllbren: Exod. xxv. 31—40; xxxvii. 17-24; Lef. xxiv. 1—4.
*i.* Allor yr arogl-darth: Exod. xxx. 1—10; xxxvii. 25—29.
*j.* Y wahanlen: Exod. xxvi. 31—33; xxxvi. 35, 36; Matt. xxvii. 51; Marc xv. 38; Luc xxiii. 45.
*k.* Y sancteiddiolaf: Exod. xxvi. 33; Ezec. xli. 4.
*l.* Yr arch: Exod. xxv. 10—22; xxvi. 34; xxxvii. 1—6.
*m.* Y crochan aur: Exod. xvi. 33.
*n.* Y manna: Exod. xvi. 1—36; Salm lxxviii. 24, 25; Ioan vi. 31—35, 48—58.
*o.* Gwialen Aaron: Num. xvii. 10.
*p.* Y llechau: Exod. xxv. 16, 21; xxxi. 18; xxxii. 15—19; xxxiv. 1—4, 27—29; Deut. x. 1—5; 1 Bren. viii. 9.

3. Am wasanaeth yr arch-offeiriad yn y cysegr sancteiddiolaf ar ddydd y cymod darllener Lef. xvi. 1—34; xxiii. 26—32; xxv. 9; Num. xxix. 7—40.

4. Am hanes cysegriad y cyfamod gan Moses darllener Exod. xxiv. 3—8.

5. Y gwahaniaeth rhwng cysegriad y cyfamod ac amcan aberthau dydd y cymod.

6. A wneid defnydd o waed yr aberth cyn amser Moses, can belled ag y gellir barnu oddiwrth yr angreifftiau o aberthu a grybwyllir yn yr Hen Destament?

7. Pa fodd y cysonwch Exod. xxv. 2 â Jer. vii. 22?

8. Pa fodd y cysonwch Lef. i. 9 â Salm l. 13?

9. Am ba rai o'r gwahanol aberthau a offrymid dan y gyfraith y crybwyllir yn yr Epistol hwn, ac at ba rai ni chyfeiria yr awdwr? A oes rheswm dros y naill a'r llall?

10. Beth ddywed y Testament Newydd am y gydwybod, yn ei swydd, ei hawdurdod, ei phurdeb, a'i pherthynas â gwaed Crist? Pa enw neu enwau a roddir arni yn y Testament Newydd?

11. Cymharer yr amrywiol fanau o'r Testament Newydd, yn y rhai y ceir y geiriau "prynu," "prynedigaeth," "pridwerth," "pwrcas," &c., i'r dyben o ffurfio syniad clir am eu hystyr pan arferir hwynt am waith iawnol Crist: Matt. xx. 28; Marc x. 45; Ioan xvii. 9, 10; Actau xx. 28; Rhuf. iii. 24; viii. 23; 1 Cor. vi. 20; vii. 23; Gal. iii. 13; iv. 5; Eph. i. 7, 14; iv. 30; Col. i. 14; 1 Pedr i. 18; 2 Pedr ii. 1; Dat. v. 9; xiv. 3; &c.

## *PEN. XI.*

1. Cymharer yr hyn a ddywed yr Apostol Paul â'r hyn a ddywedir yn yr Epistol hwn am ffydd a'i gwaith: Rhuf. iii. 22; v. 1; Gal. ii. 6, 20; iii. 24; v. 6; Eph. iii. 17.

2. Darllener hanes y saint y crybwyllir am danynt yn y benod hon, can belled ag y dengys yr hanes yn yr Hen Destament nerth neu nodweddion eraill eu ffydd.

## *PEN. XII.*

1. Darllener hanes Esau. Dangoser y gwahaniaeth rhyngddo a Jacob yn rhagoriaethau a diffygion y ddau.

2. Darllener hanes rhoddiad y ddeddf ar Sinai, a chymharer hyny â desgrifiad awdwr yr Epistol.

3. Pa mor bell y mae syniad yr Epistol hwn am Dduw yn gyffelyb i'r syniad Iuddewig, a barnu oddiwrth amgylchiadau neu ymadroddion a geir yn yr Hen Destament?

4. A oes unrhyw nodweddion yn y datguddiad o Dduw yn yr Efengylau na cheir mohonynt yn yr Epistol hwn?

## *PEN. XIII.*

1. Pa gasgliadau ellir dynu, gyda rhyw fesur o sicrwydd, oddiwrth yr Epistol hwn gyda golwg ar ffurf-lywodraeth yr eglwys yr ysgrifenai yr awdwr ati?

2. Amlinelliad o hanes yr eglwys yn Jerusalem ar ol y Pentecost.

3. Dangoswch trwy gymhariaeth rhwng yr Epistol hwn a rhanau eraill ei fod yn un o'r llyfrau mwyaf llym a mwyaf tyner yn y Testament Newydd.



# AMLINELLIAD O GYNWYS YR EPISTOL.

---

I. Y Datguddiad mewn Mab: i. 1—3.

II. Y Mab a'r Angelion: i. 4—ii. 18.

1. Datguddydd Duw yn Fab Duw: i. 4—ii. 4.
2. Mab Duw yn Gynrychiolydd Dyn: ii. 5—18.

III. Unoliaeth y Ddwy Oruchwyliaeth: iii. 1—iv. 13.

1. Unoliaeth Awdurdod Sylfaenwyr y Ddwy Oruchwyliaeth: iii. 1—6.
2. Unoliaeth Bygythion y Ddwy Oruchwyliaeth: iii 7—19.
3. Unoliaeth Addewidion y Ddwy Oruchwyliaeth: iv. 1—11.
4. Sail Unoliaeth y Ddwy Oruchwyliaeth: iv. 12, 13.

IV. Yr Archoffeiriad Mawr: iv. 4—v. 10.

V. Ymliwiad â'r Darllenwyr: v. 11—vi. 20.

1. Adnewyddiad yn Anmhosibl: v. 11—vi. 8.
2. Methiant yn Anmhosibl: vi. 9—20.

VI. Yr Offeiriad yn ol Urdd Melchisedec: vii. 1—28.

VII. Y Cyfamod Newydd: viii. 1—x. 18.

1. Arweiniad i mewn: viii. 1—6.
2. Ysbrydolrwydd y Cyfamod Newydd: viii. 6—13.
3. Y Ddau Dabernacl a'r Ddau Wasanaeth: ix. 1—28.
4. Effeithiolrwydd Aberth Crist i ddwyn i mewn y Cyfamod Newydd: x. 1—18.

VIII. Anogaethau Ymarferol: x. 19—xiii. 24.

1. Anogaeth i agoshau at Dduw ac arddel Crist: x. 19—35.
2. Anogaeth i Ymaros ffyddiog: x. 36—xii. 13.
3. Anogaeth i Wyliadwriaeth arnynt eu hunain a'r Eglwys: xii. 14—17.
4. Rheswm arbenig dros Wyliadwriaeth, oddiwrth y Cyferbyniad rhwng y ddau Gyfamod: xii. 18—29.
5. Amrywiol Gynghorion: xiii. 1—25.



YR

# EPISTOL AT YR HEBREAID.

## *PENOD I.*

DUW, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt 1
wrth y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf

---

### I.—Y Datguddiad mewn Mab.

I. 1—3.

**PEN. I. ADN. 1.**—MYNEGA yr awdwr ar y cychwyn amcan yr holl draethawd, sef profi fod Duw wedi rhoddi y datguddiad diweddaf o hono ei hun yn Nghrist. Gogoniant yr hen oruchwyliaeth oedd ei bod yn grefydd ddatguddiedig, ac o ddwyfol awdurdod. Ond erbyn hyn yr oedd yn amlwg fod yr oruchwyliaeth hono ar derfynu. Dichon fod lluoedd y Rhufeiniaid eisoes yn parotoi i warchae ar Jerusalem. Ofnai yr Hebreaid Cristionogol fod y cyssylltiad rhwng yr hen oruchwyliaeth a'r oruchwyliaeth newydd mor agos ac mor hanfodol fel y byddai dinystr y naill yn cynwys dinystr y llall. Ysgrifenwyd y traethawd hwn i egluro y berthynas rhwng y ddwy oruchwyliaeth ac i ddangos, yn enwedig, er mai Duw a roddasai y ddwy, eto fod yr oruchwyliaeth efengylaidd yn hollol annibynol ar yr oruchwyliaeth flaenorol. Yr achos o hyny ydyw ei bod yn *ddatguddiad* uwch o fwriadau Duw, ac felly nad oedd y llall ond goruchwyliaeth barotoawl a chysgodol.

**Llefaru.** Y gair Groeg *lalein* yw yr hwn a arferir am lefariad Duw trwy brophwyd neu oracl.

**Lawer gwaith** (gan ddilyn cyfieithiad Geneva); yn hytrach, "mewn llawer o ranau." Yr oedd y datguddiad yn anghyflawn, ac heb unoliaeth; nid oedd y gwirioneddau yn crynhoi o amgylch un gwirionedd llywodraethol,

**Llawer modd**; hyny yw, "mewn llawer dull," weithiau mewn breuddwydion, weithiau trwy weledigaethau, dro arall trwy aberthau, &c. Gwel Num. xii. 6—8. Am fod y datguddiad yn rhanol ac anghyflawn, yr ydoedd hefyd yn cael ei drosglwyddo trwy foddion ac mewn ffurfiau israddol. O'r ochr arall, y mae y datguddiad mewn Mab yn y ffurf uwchaf, ac, am hyny, y mae ynddo ei hun yn gyflawn. Gwel ar adn. 2.

**Gynt**; yn hytrach, "er cynt." Cyfeiria y gair at barhâd hirfaith yr amser yn ystod yr hwn y rhoddid y datguddiad, nid llai na mil o flynyddoedd, a dweyd y lleiaf, mewn cyferbyniad i'r amser byr yn yr hwn y rhoddwyd y datguddiad cyflawn ac uchel ei natur, sef ysbaid bywyd yr Iesu ar y ddaear. Gosodir allan y syniad hwn, mai ar unwaith, ac nid yn raddol, y llefarodd Duw yn ei Fab, yn amseriad y ferf yn y gwreiddiol.

**Yn y dyddiau diweddaf hyn**; yn hytrach, "yn niwedd y dyddiau hyn," sef y dyddiau hirfaith y rhoddid y datguddiad blaenorol ynddynt. Mewn cyferbyniad i'r cyfnod cyn dyfodiad Crist, gelwir y dyddiau ar ol ei ddyfodiad "yr amseroedd diweddaf" (1 Petr i. 20; Jud. 18), "cyflawnder yr amseroedd" (Marc i. 15; Gal. iv. 4; Ephes. i. 10), a "diwedd y byd" (ix. 26). Y mae y geiriau yn cynwys tri syniad yn y cyssylltiad hwn: (1) mai araf a maith oedd rhoddiad y datguddiad blaenorol, o ddydd i ddydd,

2 hyn a lefarodd wrthym ni yn ei Fab; Yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob peth, trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe y byd-

---

ychydig heddyw ac ychydig wedi hyny; (2) fod yr oruchwyliaeth hono yn dyfod i derfyniad o honi ei hun, gan oedran a henaint; (3) a'i bod yn parotoi at yr oruchwyliaeth well, yr hon a ddaeth i mewn yn uniongyrchol yn niwedd y llall.

**Yn ei Fab**; yn hytrach, "mewn Mab," neu "mewn un oedd yn Fab," mewn cyferbyniad i'r prophwydi. Fod yr awdwr yn gadael allan y fanod yn fwriadol, er mwyn rhoi pwyslais ar fabolaeth Crist, sydd debygol, os nad yw yn hollol sicr; oherwydd gesyd y fanod i mewn o flaen y gair "prophwydi." Fod Crist yn Fab sydd yn peri fod y datguddiad a roddir ynddo yn gyflawn, ac nid yn rhanol; yn unffurf, ac nid mewn llawer dull. Y mae y Mab yn datguddio yr oll, ac yn datguddio yr oll yn y ffurf uwchaf. Sylwer mai "*yn* y prophwydi" ac "*mewn* Mab" a ddywedir, nid "*trwy* y prophwydi" na "*thrwy* Fab." "Trwy" ydyw y gair pan y sonir am yr angelion (ii. 2). Yr oedd Ysbryd Crist *yn* y prophwydi, ac, mewn ystyr neillduol, yr oedd Duw *yn* Nghrist, 1 Pedr i. 11; 2 Cor. v. 19. Ni ddywedir yn unman fod Duw yn llefaru *yn* yr angelion; ac ni ddywedir ychwaith ei fod yn llefaru *trwy* y Mab; ond dywedir ei fod yn llefaru *trwy* ac *yn* y prophwydi. Gwel Matt. i. 22. Rhoddid y datguddiad trwy yr angelion fel cenadon yn cario hysbysrwydd, adn. 7. Ond defnyddiai Duw fyfyrdod a phrofiad y prophwyd yn gyfrwng y datguddiad, yr hwn, oherwydd hyny, oedd yn orlawn o feddylgarwch, barddoniaeth, teimlad, a nerth. Yn hyn yr oedd y prophwyd yn debyg i'r Mab. Yr un pryd rhaid cofio fod Duw yn y Mab mewn ystyr wahanol i'w breswyliad yn y prophwyd, am mai Mab ydoedd, iii. 5. Sylwer hefyd mai *trwy* a ddywedir am y Mab ei hun fel Creawdwr, adn. 2.

**ADN. 2.**—Mewn cyferbyniad i'r datguddiad mewn llawer o ranau y mae y datguddiad yn y Mab yn gyflawn ac yn unol, am mai efe yw yr etifedd a'r creawdwr, diwedd a dechreu holl weithredoedd Duw. Nid oedd y prophwydi yn gyfranog yn y bwriadau a'r cynlluniau dwyfol a ddatguddient, ac am hyny nis gallent, er ymofyn a manwl chwilio, amgyffred a mynegu dim ond rhanau o honynt. Ond am y Mab, trwyddo ef, fel cyfrwng creadigaeth, ac erddo ef, fel amcan, y crewyd pob peth, Col. i. 16; trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth, ac ar wahan oddiwrtho ef fel amcan ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd. Oblegid hyny, ynddo ef y mae yr oll yn cydsefyll. Dealla efe unoliaeth drychfeddyliau Duw, a gall eu datguddio.

**Etifedd.** Dygir i mewn y syniad o etifeddiaeth, oblegid fod yr awdwr yn son am Grist fel Mab. Gwel adn. 4. Desgrifia Philo y Gair fel drychfeddwl, a hwnw yn *amcan* holl feddyliau Duw; ond dengys awdwr yr Epistol ei annibyniaeth ar Philo trwy dderbyn y syniad apostolaidd am Grist fel Mab ac *etifedd* personol. Nid amcan a gyrhaeddir trwy ddadblygiad ydyw y Gair, ond etifedd a osodir gan Dduw i'r greadigaeth ac oddiallan iddi.

**Hefyd.** Golyga Calvin ac eraill mai fel y mae Crist yn ddyn y gelwir ef yn "etifedd." Ond ymddengys i mi fod yr awdwr yn rhoi y gair "hefyd" i mewn i ddangos fod y Mab wedi ei osod yn etifedd *cyn* i Dduw wneyd y bydoedd. Oherwydd fod yr etifedd wedi ei osod y crewyd y bydoedd i fod yn etifeddiaeth iddo. Nid at ei ddyrchafiad i'r nef, gan hyny, y cyfeiria y gair "gosododd." Ymddengys, yn mhellach, mai nid ato fel Mab tragwyddol y cyfeirir yma, ond at arfaeth Duw tuag ato fel Duw-ddyn. Canys fel Duw-ddyn, a thrwy waith y prynedigaeth, y daeth efe i'w frenhiniaeth.

oedd: Yr hwn, *ac* efe yn ddisgleirdeb *ei* ogoniant *ef*, ac yn wir 3

---

**Y bydoedd.** Nid at y bydoedd fel y maent yn bod mewn *lle* y cyfeirir yn unig yma, ond hefyd at y gwahanol oruchwyliaethau sydd yn cynyddu mewn gogoniant o gyfnod i gyfnod mewn amser. Defnyddir y gair yn y lle hwn, yn mlaenaf, i awgrymu i'r Hebreaid mai nid yr hen oruchwyliaeth fu yr unig drefniant rhagbarotoawl, ond fod holl hanes y byd er y dechreuad, yn gyfnodau neu oruchwyliaethau, ar wahan oddiwrth eu gilydd, ond dan oruchwyliaeth y Mab, yn cydweithio tuag at yr un datguddiad cyflawn. Awgryma y gair fod datguddiadau rhanol yn bod yn annibynol ar y datguddiad rhanol a roddasid yn y prophwydi, a bod y rhai hyny hefyd yn parotoi at ddyfodiad y Mab. Ond golyga y gair fwy na chyfnodau mewn amser, yn gymaint a bod Duw wedi gweled yn dda roi yr amrywiol ddatguddiedigaethau mewn gwahanol leoedd, ac felly yn gyfamserol i raddau â'u gilydd, fel y gall y rhai sydd yn byw mewn un cyfnod ddysgu oddiwrth y rhai sydd yn y cyfnod arall. Dengys yr hyn a ddywed yr awdwr yn xi. 3, lle y defnyddir yr un gair, ei fod yn cynwys y syniad o le yn gystal âg amser.

**ADN. 3.**– Fel y dengys yr ail adn. fod y datguddiad yn y Mab yn gyflawn, mewn cyferbyniad i'r datguddiad "mewn rhanau," felly y dengys y drydedd adn. fod y datguddiad yn y Mab yn y ffurf uwchaf, mewn cyferbyniad i'r datguddiad a roddwyd "mewn llawer ffurf" israddol. Dywedir yn yr ail adn. beth ydyw y Mab trwy osodiad; ac yn y drydedd, beth ydyw yn wreiddiol a hanfodol; oblegid gwahaniaeth graddau sydd rhwng y datguddiad rhanol a'r datguddiad cyflawn, ac am hyny gwahaniaeth graddau a grybwyllir yma rhwng y Mab a dynion, y rhai ydynt yn etifeddion (adn. 14), er nad yn etifeddion pob peth, a'r rhai ydynt yn gyfryngau israddol i weithrediadau Duw. Ond gwahaniaeth natur sydd rhwng y datguddiad a roddwyd yn y ffurf o ddatguddiad mewn Mab; ac felly gwahaniaeth hanfodol a grybwyllir yn awr rhwng y Mab a dynion ac angelion. Y Mab yn unig yw llewyrchiad gogoniant ac argraph sylwedd Duw. Oherwydd hyny efe yn unig all roi y datguddiad mwyaf gwirioneddol, mwyaf ysbrydol, mwyaf personol, o Dduw. Bwriedir yr ymadroddion a ddefnyddia yr awdwr i ddangos fod yr hyn ydyw y Mab yn wreiddiol ynddo ei hun yn ei gymhwyso i ddatguddio Duw yn y ffurf uwchaf. Y mae i Dduw ei sylwedd, yr hwn sydd megys sylfaen o dan ei holl briodoleddau. Y Mab yw argraph y sylwedd dwyfol. Ond, yn mhellach, y mae i Dduw ei ogoniant, yr hwn sydd megys arddangosiad o'i sylwedd. Y Mab yw llewyrchiad y gogoniant dwyfol. Fe wêl y darllenydd oddiwrth hyn mai gwell ydyw dechreu gyda'r ymadroddion olaf, wrth egluro yr adn., a gweithio ein ffordd yn ol yn y drefn a ganlyn,—"person," "gwir lun," "gogoniant," "dysgleirdeb."

**Yr hwn ac efe**; yn fwy llythyrenol, a gwell, "yr hwn gan ei fod." Cyferbynir yn y gair hwn yr hyn ydyw y Mab ynddo ei hun yn bersonol a hanfodol â'r hyn ydyw trwy gael ei wneyd neu ei apwyntio (adn. 2—4). Cydmarer Phil. iii. 6 â Ioan i. 14.

**Ei berson**; yn hytrach, "ei sylwedd," (" *his substance*," C. D. S.). Dygwyd y gair "person" i mewn i'r adnod gan Beza. Ond "sylwedd" yw y gair a ddefnyddiwyd gan y tad Lladinaidd Jerom, awdwr y cyfieithiad Lladin a elwid y cyfieithiad Cyffredin *(Vulgate)*. Defnyddid y gair gwreiddiol *(hupostasis)* gan y tadau Groegaidd mewn dau ystyr, sef weithiau am yr hanfodiad sydd yn perthyn i'r Tad, i'r Mab, ac i'r Ysbryd Glân, fel eu gilydd; weithiau am y ffurf hwnw ar yr hanfodiad ddwyfol sydd yn wahaniaethol yn y Tad, yn y Mab, ac yn yr Ysbryd Glân. Parodd hyn lawer o ddyryswch, yn mhlith y tadau Groegaidd eu hunain.

lun ei berson ef, ac yn cynnal pob peth trwy air ei nerth, wedi

---

Ond yn y fl. 362 o.c., mabwysiadwyd y gair *hupostasis* yn yr ystyr o *berson*, a'r gair *ousia* yn yr ystyr o *sylwedd*. Yn yr adn. hon y mae yn sicr mai "sylwedd" yw ystyr y gair *hupostasis*. Dadleua Beza nas gallai y Mab fod yn argraph sylwedd y Tad, gan mai un sylwedd neu hanfod sydd i'r Tad ac i'r Mab ac i'r Ysbryd. Ond nid fod sylwedd y Mab yn argraph o sylwedd y Tad a ddywedir yn yr adn. hon, nac ychwaith fod person gwahaniaethol y Mab yn argraph o berson gwahaniaethol y Tad. Yr ystyr ydyw fod person y Mab yn argraph o sylwedd Duw, yr hwn sydd yn y Mab fel y mae yn y Tad. Dywed Charles, yn y Geiriadur (dan y gair "Delw") "fod Crist, o ran ei Berson, yn hanfodol, ac nid yn argraphiadol, nac yn greadigol, yn ddelw, neu yn wir lun Person y Tad." Y mae hyn yn wir, am mai Mab ydyw. Ond nid hwn yw yr ystyr yn yr adn. hon, fel y dengys y Geiriadur dan y gair "Person," ond yn hytrach fod Crist yn argraphiadol (fel y mae hefyd yn hanfodol) yn ddelw o sylwedd y Tad.*

**Gwir lun.** Dyma gyfieithiad yr Esgob Davies, yr hwn a'i cymmerodd o Fibl Geneva, "*express image;*" ond ceir y darlleniad hwn yn Awstin. Ystyr y gair gwreiddiol ydyw argraph a wneir trwy osod sêl ar gŵyr toddedig. Felly y dywed Philo, fod "y gair tragwyddol yn argraph sêl Duw." Y mae y dyfyniad hwn yn ddigon i brofi beth yw ystyr y gair yn yr adn. hon. Y mae y gyffelybiaeth yn cynwys, nid yn unig fod cyffelybrwydd perffaith rhwng y Tad a'r Mab, ond hefyd mai y Mab sydd yn derbyn ei ffurf wahaniaethol, ac nid y Tad; ac yn mhellach, fod y ffurf wahaniaethol a dderbynia y Mab o'r Tad, yn gosod allan, neu yn datguddio, yn hollol, y sylwedd dwyfol sydd yn perthyn i'r Tad ac i'r Mab. Y ffurf wahaniaethol ar y sylwedd dwyfol fel y mae yn y Tad ydyw ei fod yn Dad, ac am hyny, ei fod (1) yn Dduw i'w ddatguddio, ac (2) yn rhoi bod erioed i'r ffurf wahaniaethol ar y sylwedd dwyfol sydd yn ei ddatguddio. Ond yn y Mab, y ffurf wahaniaethol ydyw ei fod yn Fab, ac, am hyny, ei fod yn argraph neu ddelw sydd yn datguddio Duw; Col. i. 15; Phil. ii. 6. Golyga Beza mai Crist fel dyn a feddylir, am mai yn ei ddynoliaeth y mae Crist yn ddatguddiad i ni o Dduw. Ond hawdd ateb hyn, trwy ddyweyd na fuasai Crist fel dyn yn datguddio Duw oni buasai ei fod fel Mab tragwyddol yn argraph ei sylwedd.

**Ei ogoniant.** Perthyna i'r sylwedd dwyfol nid yn unig ei argraph neu ei ddelw, ond hefyd ei ogoniant; hyny ydyw, nid yn unig y mae i Dduw ei Fab ond y mae iddo hefyd ei briodoleddau. "Llewyrchiad ei ogoniant, ac argraph ei sylwedd" a ddywedir yma; ond yr un fyddai yr ystyr pe dywedid, "llewyrchiad gogoniant ei sylwedd ac argraph ei sylwedd." Perthynas y Mab â'r sylwedd dwyfol ydyw ei fod yn argraph neu ddelw o hono. Ond y mae perthynas rhyngddo hefyd â gogoniant y sylwedd dwyfol; hyny yw, rhyngddo â'r priodoleddau dwyfol. Ymddengys yn eglur fod hanfod Duw yn cynwys ynddi ei hun, nid yn unig y posibilrwydd o gael ei datguddio, ond hefyd dueddfryd at hyny. Y mae ei mynediad allan yn ddeublyg; y naill mewn Mab, a'r llall mewn gogoniant neu briodoleddau teilwng o honi ei hun. Ac er fod y Mab yn ddelw yr hanfod neu y sylwedd dwyfol, ni fuasai yntau yn ddatguddiad o Dduw oni buasai fod perthynas rhyngddo â'r priodoleddau dwyfol. Hwn yw y rheswm fod yr awdwr yn crybwyll y gogoniant yn gystal â'r argraph.

**Dysgleirdeb.** Gwel Doeth. vii. 26. Yn Philo, gan yr hwn y cafodd yr awdwr ef, y mae i'r gair a ddefnyddir yma ddau ystyr, sef (1) adlew-

---

* Dichon, er hyny, fod peth aneglurder yn y Geiriadur, oherwydd fod yr awdwr yn dyfynu y geiriau "delw y Duw anweledig" i brofi y ddau bwnc.

ym mhob peth yr un ffunud â ninnau, *etto* heb bechod. Am 16

---

oedd angen i'w demtasiynau fod yn gyffelyb i'n temtasiynau ninau yn yr elfenau hyny sydd wrth wraidd pob temtasiwn.

**Yr un ffunud**; yn hytrach ac yn fwy llythyrenol, "yn ol cyffelybrwydd." Gwel Rhuf. viii. 3; Phil. ii. 7. Yr ystyr ydyw fod ein prawf ni wedi ei gymmeryd gan Dduw fel cynllun yn ol yr hwn y trefnodd efe brawf yr Iesu. Dywed yr awdwr hyn i egluro paham y temtiwyd yr Iesu i bechod. Yr oedd yn ein gwendidau ni elfen bechadurus, fel y dywedir yn v. 3, fod yr Archoffeiriad dynol, oblegid y gwendid a'i hamgylchai, yn offrymu dros ei bechodau ei hun. Er mwyn i'r Iesu, gan hyny, allu cydymdeimlo â'n gwendidau ni, rhaid oedd iddo gael ei brofi gan Dduw yn ol ffurf ein gwendid ni, sef trwy gael ei demtio i bechu.

**Etto heb bechod.** Nid yw y gair "eto" yn y gwreiddiol. Er hyny eglurha yr ystyr yn gywir. Temtiwyd yr Iesu yn ol cyffelybrwydd ein temtasiynau ni, hyny yw, temtiwyd ef i bechu. Ond ni phechodd, er ei demtio i hyny. Yn sicr nid yr ystyr ydyw ei fod wedi ei demtio ymhob peth, oddieithr i bechu. Ni oddef y geiriad yr ystyr hwn; ac nid yw yn wir. Fe demtiwyd, ond ni hudwyd, yr Iesu i bechu.

[NODIAD.—Ni pherthyn i esboniadaeth geisio ateb y cwestiynau duwinyddol am Berson Crist a awgrymir yn naturiol oddiwrth yr adnod hon; megis, A oedd yn bosibl i Grist bechu? Nid yw geiriau y Testament Newydd yn rhoi unrhyw le o gwbl i ni dybied fod yr ysgrifenwyr sanctaidd yn teimlo anhawsder yn y fath ymholiad. Dysgant yn eglur fod Iesu Grist yn Fab Duw ac yn Fab Dyn, ac eto mai Un ydyw. Oddiwrth hyn y mae y casgliad a dynodd Athanasius yn canlyn o angenrheidrwydd mai Duw oedd Iesu Grist ynddo "ef ei hun," neu, i ddefnyddio y gair a ddaeth i arferiad yn y ganrif ddilynol ar ol Athanasius, yn ei "Berson," ac nid dyn; oblegid ni pheidiodd â bod yr hyn ydoedd, sef Mab Duw, pan y daeth i fod yr hyn na fuasai o'r blaen, yn Fab Dyn. Ond os Person Dwyfol ydoedd pan yn cael ei demtio, yna y mae yn dilyn nas gallasai bechu, gan mai gweithred bersonol ydyw pechu. Er hyny yr oedd ei demtasiwn yn wirioneddol, gan ei fod yn ddyn, a chan fod ei holl demtasiynau yn apelio at wendidau dibechod ei ddynoliaeth. Ni fyddai yn weddus myned ymhellach na hyn mewn ymdriniaeth ar y pwnc yn y llawlyfr hwn.]

**ADN. 16.**—Agoshau at Dduw ydyw anogaeth fawr yr Epistol. Gwel x. 19, lle y mae ymresymiad yr Epistol yn gorphen, a'r wers ymarferol yn gorphwys ar holl athrawiaeth yr Epistol. Y wers ydyw agoshau at Dduw. Ond yn y bedwaredd benod y mae yr anogaeth yn dal cyssylltiad â'r hyn a ddywedir yn yr adnodau blaenorol am Dduw fel barnwr, â'r hwn y mae a wnelom. Rhaid i ni ymddangos gerbron ei frawdle. Ond gan fod genym Archoffeiriad mawr, yr hwn a all gydymdeimlo â ni, nesawn at orsedd y barnwr yn hyderus, gan gofio mai gorsedd i roddi gras ydyw. Diau fod gweddio yn gynwysedig yn hyn; ond y mae mwy na gweddio mewn agoshau at orsedd gras. Cynwysa fod holl fywyd ein hysbryd yn gymdeithas â Duw.

**Drugaredd**; neu "dosturi," sef y tosturi sydd yn nghydymdeimlad yr Archoffeiriad â'n *gwendidau ni*.

**Gras**; sef y ffafr heb ei haeddu, yn cynwys maddeuant o'r *pechodau* sydd ynglyn â'n gwendidau ni. Dichon fod ychydig wahaniaeth rhwng "derbyn" a "chael." Y mae y geiriau yn y gwreiddiol yn awgrymu mwy o wahaniaeth na'r geiriau Cymraeg. Y mae y pechadur yn myned at yr orsedd *am* drugaredd; ond y mae yn *cael*, nid trugaredd yn unig, ond hefyd maddeuant a chymhorth at y dyfodol, yr hyn yr oedd wedi bod yn chwilio am dano mewn llawer man, ac yn methu dyfod o hyd iddo, hyd nes y daeth at orsedd gras Yno y "daeth o hyd" i ras. Gwel nodiad ar ix. 12.

hynny awn yn hyderus at orsedd-faingc y gras, fel y derbyniom
drugaredd, ac y caffom ras yn gymmorth cyfamserol.

## *PENOD V.*

1 CANYS pob arch-offeiriad wedi ei gymmeryd o blith dynion,
a osodir dros ddynion yn y pethau *sydd* tu ag at Dduw, fel
2 yr offrymmo roddion ac aberthau dros bechodau: Yr hwn a

---

**Yn gymhorth cyfamserol.** Yr ystyr ydyw "cymhorth mewn pryd," cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar. Cafodd y pechadur ras pan ar fin anobaith ac ar ymylon colledigaeth.

**PEN. V.—ADN. 1.**—Prawf ydyw yr adn. hon o'r hyn a ddywedwyd am gydymdeimlad ein Harchoffeiriad ni. Rhaid ei fod yn gallu cydymdeimlo, oblegid nid yn unig y mae wedi ei demtio yn ol cynllun ein temtasiynau ninau, ond, yn mhellach, pe nas gallai gydymdeimlo, ni byddai yn deilwng i fod yn Archoffeiriad. Canys cymmerir *pob* archoffeiriad o blith dynion, a gosodir ef dros ddynion. Rhoddwyd y gyfraith trwy gyfryngdod angelion; ond ni osodwyd angel erioed yn archoffeiriad. Y rheswm ydyw fod cydymdeimlad yn angenrheidiol mewn archoffeiriad.

**Wedi ei gymmeryd**; yn hytrach, "gan mai o blith dynion y cymmerir ef." Nid yr ystyr ydyw fod yr archoffeiriaid Iuddewig wedi eu cymmeryd o blith dynion, mewn cyferbyniad i Grist, yr hwn oedd yn fwy na dyn. Ni oddef y gwreiddiol yr ystyr hwn. Dangos y mae yr awdwr fod Crist yn hyn yn debyg i bob archoffeiriad arall, yn cael ei gymmeryd o blith dynion er mwyn medru cydymdeimlo. Ond y mae yn werth sylwi fod yr awdwr yn coffau yn y lle hwn am nodwedd yn yr archoffeiriaid Iuddewig na chrybwyllir yn un man yn yr Hen Destament na'r Newydd. Nid yw yn ymddangos fod neb o dan yr hen oruchwyliaeth wedi sylwi ar, nac wedi derbyn unrhyw gysur oddiwrth, gydymdeimlad dynol yr archoffeiriaid. Golyga y gair a gyfieithir "a gymmerir" fod pob archoffeiriad *yn olynol*, y naill ar ol y llall, yn cael ei gymmeryd o blith dynion.

**Dros ddynion.** Pwysleisier y geiriau hyn. Gosodir yr archoffeiriad i bleidio, i gynrychioli, i eirol; y mae cydymdeimlad yn rhan o'i gymhwysder i sefyll dros ddynion gerbron Duw yn gystal ag i gynorthwyo y rhai a demtir.

**Yn y pethau a berthyn i Dduw**; yn hytrach, "yn y pethau sydd tuag at Dduw;" hyny yw, yn gystal âg yn y pethau sydd tuag at y pechadur ei hun, i'w gynorthwyo yn ei wendid.

**Rhoddion ac aberthau.** Y mae cydymdeimlad archoffeiriad i gynwys dau beth. Y naill yw gallu i deimlo *yr un fath* â'r pechadur, fel ag i gynrychioli a chyflwyno ei deimlad ef gerbron Duw. Hyn a olygir yn y gair "rhoddion." Cyflwyna yr Archoffeiriad, yn ei gydymdeimlad, ddiolchgarwch addolgar y pechadur edifeiriol a'r rhoddion y mae y diolchgarwch hwnw yn ei gymhell ef i'w hoffrymu. Y llall yw gallu i deimlo *dros* y pechadur, fel ag i gyflwyno "aberth" digonol i foddloni Duw ar ei ran. Gan hyny, ni byddai na "rhoddion" nac "aberthau" yn cynwys y cwbl sydd yn anghenrheidiol i ddatgan holl gydymdeimlad archoffeiriad, heb y ddau gyda'u gilydd. Er hyny, gellir, ac fe ddichon y dylid, cyssylltu y geiriau "dros bechodau" â'r *holl* ymadrodd "offrymu rhoddion ac aberthau."

**ADN. 2.—Yr hwn a ddichon dosturio.** Prin y mae y gair "tosturio" yn dangos yr ystyr. Nis gwn am well esboniad ar yr ymadrodd

ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn anwybodaeth ac
amryfusedd; am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â
gwendid. Ac o achos hyn y dylai, megis dros y bobl, felly 3
hefyd drosto ei hun, offrymmu dros bechodau. Ac nid yw neb 4

---

gwreiddiol na'r hyn a ddywed Dr. Thomas: "Y mae y gair, dybygid, yn golygu y tynerwch teimlad hwnw tuag at un a fyddo wedi troseddu, ag sydd yn gorwedd megis yn y canol rhwng llymder eithafol ar y naill law, a'r anwes diofal, y meddalwch difeddwl a diyni, os nad diegwyddor, neu ynte y caledwch dideimlad, ar y llaw arall, a all oddef pob peth yn gwbl ddigynhwrf." Cyfieithiad rhagorol sydd gan yr Esgob Davies: "Yn gymhesurol gydsynio cyflwr." Wrth gydsynio y golyga, yn ddiau, ystyried, barnu. Gelwid ar yr archoffeiriad i farnu troseddau, pa un a oeddynt y cyfryw ag y *gellid* offrymu aberth drostynt yn gyfreithlawn ai nid oeddynt. Yr oedd o bwys, gan hyny, ei fod ef yn abl i roi barn gyfiawn. Rhaid cyssylltu y geiriau yn dŷn â'r geiriau blaenorol, fel hyn: "fel yr offrymo roddion ac aberthau dros bechodau yn rhinwedd ei allu i roi barn dêg, heb ormod llymder na gormod meddalwch." Er mwyn iddo allu gwneyd hyn fel hyn y dewisir ef o blith dynion.

**Wrth y rhai sydd mewn anwybodaeth ac amryfusedd.** Nid oedd aberth i'w roi dros bechod mewn rhyfyg (Num. xv. 30). Mewn penderfynu pa un ai pechod o amryfusedd ai o ryfyg oedd unrhyw weithred y deuai gallu yr archoffeiriad i roi barn gyfiawn i'r golwg. Ni ddylid anghofio y gwahaniaeth rhwng "anwybodaeth" ac "amryfusedd." Gellid rhoi aberth am droseddau a gyflawnid yn anwybodol eu bod yn droseddau, sef "mewn anwybodaeth," ac hefyd am y troseddau a gyflawnid dan ddylanwad nwyd bechadurus natur lygredig, sef "mewn amryfusedd" (hyny yw, "heb ryfyg"), neu "mewn cyfeiliorni" oddiar lwybr y gorchymynion. Y pechodau nad ellid rhoi aberth drostynt oedd y troseddau a gyflawnid, nid yn an-rhyfygus, ond mewn rhyfyg; hyny ydyw, yn wyneb gwybodaeth a rhybudd, yr hyn sydd gyfystyr â "chablu yr Arglwydd."

**Wedi ei amgylchu.** Y mae holl agweddiad ei fywyd amgylch ogylch gerbron dynion yn dangos y gwendid sydd ynddo. Gŵyr dynion am ei wendidau, a gŵyr yntau eu bod yn gwybod. Tuedda hyn i'w wneyd yn wyliadwrus a phwyllog wrth roi barn ar droseddau dynion. Y mae yn eglur mai gwendid pechadurus a feddylir, gan fod yr adn. nesaf yn dyweyd fod yn rhaid iddo offrymu drosto.

**ADN. 3.—Ac o achos hyn.** Gwell yw cyssylltu yr adn. hon â'r gair "am" yn yr adn. flaenorol: "ac am y dylai o achos (y gwendid) hwn." Y meddwl yw fod hyn hefyd yn tueddu i beri iddo roi barn gyfiawn; oblegid y mae efe dan angenrheidrwydd i aberthu dros ei bechodau ei hun yn gystal â phechodau dynion eraill. Gwel Lef xvi. 6, 11, 15; pen. vii. 27.

**ADN. 4.**—Wedi dangos cydymdeimlad yr Archoffeiriad Mawr, trŷ yr awdwr at y cymhwysder arall sydd ynddo, sef awdurdod gosodiad. Gosodir pob archoffeiriad gan Dduw, a chan Dduw y gosodwyd Crist i fod yn Archoffeiriad. Y rheswm nad oes neb i gymmeryd yr archoffeiriadaeth iddo ei hun ydyw mai "anrhydedd" yw y swydd. Rhodd un o uwch safle yw pob awdurdod. Y mae gwahaniaeth barn yn mhlith yr esbonwyr yn nghylch cyssylltiad y ddau gymhwysder o gydymdeimlad a gosodiad yn meddwl yr awdwr. Barna Davidson mai prif amcan yr adnodau ydyw dangos cydymdeimlad Crist, ac mai i'r dyben o ddangos hyny y dygir i mewn ei ddwyfol osodiad i'r swydd; oblegid y mae y ffaith mai Duw a'i gosododd yn ddigon i brofi ei fod yn meddu y cymhwysder mawr o gydymdeimlad.

yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a
5 alwyd gan Dduw, megis Aaron. Felly Crist hefyd nis
gogoneddodd ei hun i fod yn Arch-offeiriad; ond yr hwn a

---

Ond y mae y pwysigrwydd arbenig a roddir ar y gosodiad yn adn. 4 yn gwneyd yr esboniad hwn, i fy meddwl i, yn annaturiol. Barna Bruce, ar yr ochr arall, mai y gosodiad gan Dduw yw y prif syniad, a bod yr awdwr yn son am gydymdeimlad Crist i ddangos yr angenrheidrwydd am y gosodiad, gan fod cydymdeimlad yn tybied gwendid personol, ac ymdeimlad o annheilyngdod i ymgymmeryd â'r swydd ac o anallu i gyflawni ei gwaith, ac felly na chymmerai Crist y swydd iddo ei hun heb ei alw gan Dduw. Ymddengys y golygiad hwn i mi yn llawn mor annaturiol â'r llall, os nad yw fwy felly; oblegid, fel y cydnebydd Bruce, galwyd Crist i'r archoffeiriadaeth *cyn* ei ymgnawdoliad. A ydym i feddwl mai ei deimlad o wendid personol a wnaeth yr alwad yn angenrheidiol? Y mae yr hen olygiad yn llawer gwell, fod yr awdwr yn enwi y ddau gymhwysder neillduol mewn archoffeiriad, sef cymhwysder personol a gosodiad swyddol. Dadleua Davidson nad oes cyssylltiad rhwng gosodiad i'r swydd â dim arall yn yr adnodau. Ond y mae cyssylltiad. Heb yr awdurdod i gynorthwyo y rhai a demtir, yn gystal â chydymdeimlad, pa fodd y gall yr Archoffeiriad Mawr ddenu neb i ufuddhau iddo ac i ddyfod at orsedd y gras trwyddo?

**Yr hwn.** Y mae agos yr holl lawysgrifau henaf yn gadael y geiriau hyn allan, ac yn darllen, "ond am ei fod yn cael ei alw." Nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd *iddo ei hun*, ond pan y gelwir ef gan Dduw, yna efe a gymer yr anrhydedd, gan ei fod yn cydnabod ei rwymedigaeth i ufuddhau i alwad Duw.

**Megis Aaron;** hyny yw, megis y cymmerodd Aaron y swydd, mewn ufudd-dod i alwad Duw. Efallai fod yr awdwr yn enwi Aaron oblegid fod llawer un ar ol hyny, yn enwedig yn yr oesoedd diweddaraf, wedi cymmeryd y swydd iddo ei hun. Ond ni fyn yr awdwr gydnabod archoffeiriadaeth y dynion drygionus hyny, ac â heibio yn ddisylw ohonynt mewn dirmyg. Yn unig awgryma i'w ddarllenwyr fod pob cyfeiriad a wna yn yr holl Epistol at yr hen oruchwyliaeth yn golygu gosodiadau Duw trwy law Moses, ac nid y llygredigaethau a ddaethant i mewn ar ol hyny.

**ADN. 5.—Crist;** yn hytrach, "y Crist," sef y Messiah. Y mae yn wir mai Iesu Grist a feddylir, ond cyfeirir ato yn ei sefyllfa dragwyddol ddiddechreu, cyn ei ymgnawdoliad, pan y llefarodd Duw wrtho, "Fy Mab ydwyt ti." Dangoswyd eisoes (ar y benod gyntaf) mai athrawiaeth yr Epistol hwn ydyw fod y Crist yn bod fel Mab Duw cyn iddo ddyfod yn ddyn. Yn y sefyllfa hono ni chymmerodd *iddo ei hun* yr anrhydedd o fod yn archoffeiriad. Fel y dywed Paul am gydraddoldeb y Mab â Duw, na thybiodd ei fod yn beth i ddal gafael ynddo (Phil. ii. 6), felly y dywedir yma am ei gydraddoldeb â dyn fel ei gynrychiolydd archoffeiriadol, na chymmerodd yr anrhydedd iddo ei hun. Gollyngodd ei afael o'i gydraddoldeb â Duw, a derbyniodd ei archoffeiriadaeth dros ddynion, yn yr un ysbryd o ostyngeiddrwydd. Yr oedd y naill yn anrhydedd na fynai ei gadw; a'r llall yn anrhydedd na fynai ei gymmeryd ond trwy roddiad Duw. Ac eto dywed Bruce mai y rheswm paham na fynai Crist ogoneddu ei hun i fod yn Archoffeiriad ydoedd fod y swydd yn cynwys marw a dyoddef. Nid "gogoneddodd" a ddywedasai yr awdwr, pe hyn fuasai ei feddwl; ac ni fuasai peidio cymmeryd y canlyniadau arswydlawn hyn iddo ei hun, heb ei alw, yn brawf o ddiffyg gostyngeiddrwydd.

**Gogoneddodd.** Nid "anrhydeddodd" a ddywedir yma, er mai

ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab; myfi heddyw a'th gen-
hedlais di. Megis y mae yn dywedyd mewn *lle* arall, Offeiriad 6
*wyt* ti yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec. Yr hwn yn 7

---

"anrhydedd" yw y gair yn yr adn. flaenorol. Anrhydedd ydoedd i Aaron i fod yn archoffeiriad, oblegid awdurdod swyddogol ac allanol a olygid yn hyny. Ond gogoniant ydoedd i'r Crist, oblegid yr oedd ei archoffeiriadaeth yn codi o'i fabolaeth ac yn gorphwys ar yr hyn ydyw yn ei Berson.

**Ond yr hwn a ddywedodd wrtho, &c.** Rhaid ychwanegu y geiriau "efe a'i gogoneddodd i fod yn archoffeiriad." Ond paham y sonir yma am fabolaeth Crist? Gwelsom yn y benod gyntaf (adn. 5) mai nid at dragwyddol genedliad y Mab y cyfeiria yr ail Salm, yr hon a ddyfynir yno ac yma, ond at ei osodiad yn ei frenhiniaeth. Y mae yn bosibl, gan hyny, mai y cwbl a fwriada yr awdwr ei ddyweyd ydyw mai yr un Duw a osododd Grist yn frenhin ac a'i gosododd hefyd yn archoffeiriad. Felly Dr. Thomas. Ond y mae y golygiad yna yn syrthio yn fyr; oblegid, yn gyntaf, i ba ddyben y dymuna yr awdwr hysbysu hyny? Yn ail, paham y sonia am ei osodiad i fod yn frenhin yn y geiriau sydd yn gosod allan ei fabolaeth? Yn drydydd, mae y gair "gogoneddodd" heb ei egluro yn y golygiad hwn. Gwell yw golygu fod archoffeiriadaeth y Crist yn anwahanol gyssylltiedig â'i frenhiniaeth. Trwy ei wneyd yn archoffeiriad y gwnaeth Duw ef yn frenhin. Yr oedd ei archoffeiriadaeth yn "ogoneddiad" brenhinol arno. Yn hyn yr oedd efe yn ol urdd Melchisedec, ac nid yn ol urdd Aaron. Derbyniodd Aaron "anrhydedd" wrth gael ei wneyd yn archoffeiriad, ond derbyniodd y Crist "ogoniant," hyny yw, brenhiniaeth. Drachefn, fel y mae ei frenhiniaeth yn gynwysedig yn ei archoffeiriadaeth, felly y mae y naill a'r llall, ei frenhiniaeth a'i archoffeiriadaeth, yn gynwysedig yn ei fabolaeth. Datganiad Duw o'i fabolaeth a'i gosododd yn frenhin ac yn archoffeiriad. Y mae holl swyddau Crist mewn gwirionedd yn gorwedd yn mynwes ei fabolaeth. Am ei fod yn Fab, y mae yn weinidog, yn brophwyd, yn frenhin, yn archoffeiriad, ac yn farnwr.

**ADN. 6.**—Y mae yr hyn a ddywedwyd ar adn. 5 yn dangos mai y cyfuniad yn Nghrist o Archoffeiriad a Brenhin, a'r naill a'r llall yn ei fabolaeth personol a thragwyddol, ydyw pwynt y gymhariaeth rhyngddo â Melchisedec. Gwel Salm cx. 4.

**Offeiriad.** Y rheswm paham na ddywed "archoffeiriad" yw mai nid cyferbynu gwahanol rengoedd yn yr offeiriadaeth yw amcan yr awdwr, ond dwyn at eu gilydd y ddwy urdd o frenhin ac offeiriad, a dyweyd fod y Crist yn llenwi y ddwy swydd.

**Urdd.** Ffurf Gymraeg ar y Lladin *ordin-* ydyw "urdd" (fel y mae y gair Saesoneg *garden* yn ymddangos yn Gymraeg yn y ffurf "gardd"). Ei ystyr ydyw "trefniad." Wrth "urdd Melchisedec" y golygir y trefniad hwnw gan Dduw a osododd Melchisedec yn offeiriad ac yn frenhin.

**ADN. 7.**—Wedi traethu am y ddau gymhwysder oedd yn Nghrist i fod yn Archoffeiriad Mawr, sef cydymdeimlad a gosodiad, cyfuna yr awdwr y ddau gymhwysder ac ystyria Grist yn yr amgylchiadau hyny yn y rhai y mae ei gydymdeimlad yn cael ei ddyfnhau trwy y pethau a ddaeth iddo fel canlyniadau ei osodiad, a'i osodiad yn cael ei gydnabod gan Dduw ar sail y cydymdeimlad hwnw. Y gair sydd yn dynodi yr amgylchiadau sydd yn codi o'i osodiad ac yn perffeithio ei gydymdeimlad ydyw y gair ufudd-dod, adn. 8; a'r gair sydd yn dynodi fod Duw yn cydnabod ei osodiad mewn canlyniad i'w ufudd-dod ydyw "cyfenwi" neu "cyfarch," adn.10.

nyddiau ei gnawd, gwedi iddo, trwy lefain cryf a dagrau, offrwm gweddïau ac erfyniau at yr hwn oedd abl i'w achub ef oddi

---

**Yn nyddiau ei gnawd,** sef ystod ei fywyd ar y ddaear, pan yr oedd ei gorph yn gorph anianol (1 Cor. xv. 44), yn meddu cnawd a gwaed. Ond sonir am ddyddiau ei gnawd yn yr adn. hon mewn cyferbyniad i'r sefyllfa oruchel yr oedd efe ynddi cyn ymgnawdoli, yn yr hon ni ogoneddodd efe ei hun i fod yn Archoffeiriad (adn. 5). Yr oedd yr un meddwl ynddo pan ar y ddaear ag oedd ynddo erioed, sef y meddwl i ddarostwng ei hun. Gwel Phil. ii. 8. Ond awgryma yr ymadrodd hynod "dyddiau ei gnawd" fod bywyd Crist yn anad neb yn llawn gofid a dolur. Gwel Es. liii. 3.

**Gweddiau ac erfyniau.** Y mae y gair "gweddi" yn edrych at y fendith y gofynir am dani, a'r gair "erfyniad" at yr ysbryd taer a gostyngedig yn yr hwn y gofynir am y fendith. Gwel 1 Tim. ii. 1.

**Oddiwrth farwolaeth.** Y cyfieithiad llythyrenol ydyw "o," nid "oddiwrth," ac y mae yn rhaid ychwanegu mai "o" ydyw yr unig gyfieithiad cywir. Gwel y geirlyfrau, megis Geirlyfr Grimm. Nis gall y gair gwreiddiol olygu fod Crist wedi gweddio ar gael ei gadw *rhag* marw. Y mae yn bosibl mai at ei ddyoddefiadau y cyfeiria yr awdwr, a'i fod yn galw y dyoddefiadau yn farwolaeth. Ond nid yw y golygiad hwn yn hollol foddhaol. Paham y galwai yr awdwr y dyoddefiadau yn farwolaeth, a thrwy hyny ddefnyddio geiriad sydd, a dyweyd y lleiaf, yn amwys? Yr unig ystyr naturiol i'r geiriau ydyw fod Crist yn gweddio yn daer ar i Dduw ei achub ef *allan o'i* farwolaeth trwy adgyfodiad a gogoneddiad. Yr anhawsder ydyw mai nid hyn oedd gweddi yr Iesu, fel y rhydd yr efengylwyr hanes ei ing yn Gethsemane. Gweddiai, nid am gael ei adgyfodi i fywyd ar ol marw, ond am i'r cwpan fyned heibio oddiwrtho, na byddai iddo yfed ohono (Matt. xxvi. 42). Fod yr awdwr yn cyfeirio at ei ing yn yr ardd sydd ddiamheuol. Ond y mae yr un mor sicr nad o'r efengylau y cymmerodd ef yr hanes. Ni sonir ynddynt hwy am "lefain cryf" nac am "ddagrau." Rhaid ei fod yn ymddibynu ar draddodiad na chadwyd yn yr eglwys ond trwy yr Epistol hwn. Y mae, gan hyny, yn bosibl fod traddodiad hefyd am gynwys y weddi na cheir dim ohono yn yr Efengylau. Heblaw hyny, y mae gweddi am achubiaeth *o* farwolaeth yn cael ei rhoi yn ngenau y Gwaredwr gan y Salmydd (Salm xxi. 4; xxii. 14—19), ac mewn Salm arall (xlii. 3) ceir cyfeiriad at ei ddagrau. Ymddengys oddiwrth hyn fod yr awdwr yn cyfuno yr hanes yn yr Efengylau â rhagfynegiadau y Salmydd, ac, efallai, â thraddodiad, ac yn cyfeirio, nid at y weddi yn yr ardd yn unig, ond hefyd at ymbiliau yr Iesu yn holl amgylchiadau ei farwolaeth, gan gymmeryd i mewn ei weddiau ar y groes (gwel Salm xxii. 17, 18).

**Offrwm.** Y gair hwn sydd yn dangos fod gweddiau yr Iesu yn rhan o waith ei archoffeiriadaeth. Gwel adn. 1. Y mae ing pechadur yn codi o'i ymdeimlad o euogrwydd. Gan nad oedd pechod yn Nghrist, yr unig ffordd i gynyrchu yn ei enaid sanctaidd y cydymdeimlad gofynol â'r ing pechadur oedd tristwch hyd angau, cuddiad wyneb Duw rhagddo yn ei angau, ac ofn rhag i Dduw adael ei enaid yn Hades. Efe a *offrymodd* y tristwch a'r unigedd a'r ofn hwn i Dduw fel iawn dros bechodau y bobl. Yr oedd yn ei gydymdeimlad â'r pechadur iawn hefyd i Dduw. Ond y mae rhai esbonwyr galluog yn derbyn golygiad Hofmann, fod yr offrwm hwn yn cael ei gyflwyno gan Grist drosto ef ei hun. Y mae yn wir fod yr awdwr wedi galw sylw at y ffaith fod yr archoffeiriad dan yr Hen Destament yn offrymu drosto ei hun yn gystal â thros y bobl; ac y mae yn anhawdd gweled paham y crybwyllai hyny yn y lle hwn, os nad i ddangos fod Crist hefyd yn cyflawni y cwbl a ddisgwylir oddiwrth archoffeiriad. Yr un pryd,

wrth farwolaeth, a chael ei wrandaw yn yr hyn a ofnodd;

---

nis gallaf gredu fod yr awdwr yn dysgu fod angen ar Grist i offrymu dim drosto ei hun. Yn gyntaf, dywed yn adn. 3 mai *dros ei bechodau* yr offrymai yr archoffeiriad wrth offrymu drosto ei hun; yn ail, dywed yn vii. 27, nad oedd Crist yn gyffelyb i'r archoffeiriaid Iuddewig, y rhai a aberthent dros eu pechodau eu hunain, ac y mae hyny yn cynwys mai dros y bobl yr offrymai, yr hyn sydd yn cau allan unrhyw offrymiad drosto ei hun; yn drydydd, amcan yr awdwr wrth son am yr angenrheidrwydd i'r archoffeiriad offrymu dros ei bechodau ei hun ydyw dangos pa fodd y cynyrchid cydymdeimlad ynddo â gwendidau y bobl, sef trwy y teimlad o euogrwydd ynddo ef ei hun; ond cynyrchid y cydymdeimlad yn Nghrist trwy brofedigaethau, nid trwy euogrwydd. Felly y mae golygiad Hofmann, er mor gywrain, yn camgymmeryd amcan yr awdwr wrth grybwyll am ddyoddefiadau Crist yn yr adnodau hyn.

**A chael ei wrandaw yn yr hyn a ofnodd.** Y mae amheuaeth wedi bod yn meddyliau cyfieithwyr ac esbonwyr er yr oesoedd boreuaf yn nghylch ystyr y gair *eulabeia* yn yr adnod hon, pa un ai y meddwl ydyw fod yr Iesu "wedi ei wrando a'i waredu oddiwrth ei ofn," ai ynte ei fod "wedi ei wrando oherwydd ei dduwiol barch." Defnyddir y gair weithiau am "ofn" (megis yn y LXX. yn Jos. xxii. 24) ac weithiau am "dduwiol barch" (megis yn pen. xii. 28). Dywed Bleek ac Alford nad yw y gair byth yn golygu arswyd, ond ei fod weithiau yn golygu ofn gwylaidd. Prin iawn y caniateir hyny bellach. Gwell yw cydnabod fod i'r gair ddau ystyr, ofn a duwiol barch. Felly rhaid penderfynu pa un o'r ddau ystyr a olygir yma oddiwrth y cyssylltiad y saif y gair ynddo. Y mae y syniad fod yr Iesu wedi ei wrando trwy gael ei waredu oddiwrth ei ofn yn hollol gyson â'r hyn a ddywed yr efengylwyr. Ymddengys yn sicr i'r Iesu golli ei ofn ar ol gweddio yn yr ardd. Ond cynwysa y golygiad hwn na wrandawyd gweddi yr Iesu yn hollol. Gweddiai am iddo gael ei achub naill ai rhag marw neu ynte o farwolaeth. Dywed yr awdwr, yn ol yr eglurhad hwn ar y gair, na wrandawyd ei weddi yn hyn, ond y gwrandawyd hi i raddau, sef hyd at beri iddo golli ofn marw. Nid ymddengys i mi o gwbl mai y geiriau sydd yn y gwreiddiol a ddefnyddiai yr awdwr i osod allan y syniad hwn. Dywedai yn hytrach iddo gael ei wrando *hyd at* gael ei waredu oddiwrth ei ofn (megis yr ymadrodd sydd yn Rhuf. xii. 13). Ond ni fynwn roi nemawr o bwys ar hyn, gan fod dull o ymadroddi yn ymddangos i un yn naturiol sydd yn ymddangos yn annaturiol i un arall. Yr wrthddadl benaf yn erbyn cyfieithu y gair yn "ofn" ydyw fod yr ystyr hwn yn tynu y frawddeg allan o rediad yr ymresymiad sydd yn yr holl adnodauh yn. Dangos y mae yr awdwr fod Crist wedi dysgu ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd. Un angraifft o hyn ydyw ei weddiau a'i erfyniau, yn nghyda llefain cryf a dagrau. Yn awr, os ystyr y gair *eulabeia* ydyw "ofn," y mae yr awdwr yn troi oddiwrth y syniad hwn o gydymdeimlad ac ufudd-dod Crist i wneyd sylw, megis rhwng cromfachau, ei fod wedi cael ei wrando i fesur, sef hyd at golli ei ofn. Onid ydyw braidd yn anhebygol y buasai yr awdwr yn dwyn i mewn sylw nad yw yn ateb unrhyw ddyben yn yr ymresymiad? Ar y llaw arall, y mae yr ystyr o "dduwiol barch" yn hollol yr hyn sydd eisiau i ddangos perffeithrwydd ei ymostyngiad i ewyllys ei Dad. Efe a ddysgodd ufudd-dod trwy ddysgu ymostwng; ac fe ymostyngodd mor llwyr i Dduw fel, er ei fod yn offrymu gweddiau ac erfyniau gyda llefain cryf a dagrau am gael ei achub o ganol marwolaeth, eto gadawodd y dyfodol mewn duwiol barch yn llaw ei Dad. Er gofyn na adewid ei enaid yn Hades, gadawodd hyny

8 Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddy-
9 oddefodd: Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn

---

i Dduw. Yn awr, yn y perffaith ymostyngiad duwiol hwn y cafodd Duw lwyr foddlonrwydd, ac oblegid ei dduwiol barch gwrandawodd Duw ei weddi ac achubodd ef o farwolaeth. Ei ymostyngiad i ewyllys Duw a wnaeth ei weddiau yn offrwm archoffeiriadol. Ni adawyd ei enaid yn uffern, ac ni oddefwyd i Sanct Duw weled llygredigaeth; dangoswyd iddo lwybr bywyd. Y mae yn deilwng o sylw mai yn yr ystyr o dduwiol barch y deallir y gair gan yr holl dadau Groegaidd. Ac felly hefyd y cyfieitha Jerom. Daeth yr ystyr arall "yn yr hyn a ofnodd" i'r cyfieithiad Cymraeg oddiwrth Beza a chyfieithiad Geneva.

**ADN. 8.—Er ei fod yn Fab.** Y mae yn briodol a naturiol i fab ufuddhau; ond yr oedd Duw yn gofyn ufudd-dod mor fawr gan Grist fel yr oedd ufudd-dod yn anhawdd, ac, er ei fod yn Fab, yr oedd yn angenrheidiol iddo *ddysgu* ufudd-dod. Yr achos paham y gofynid ufudd-dod mor anhawdd oddiwrtho ydoedd mai Archoffeiriad oedd, ac ufudd-dod mawr, ïe, y mwyaf, oedd yr hyn a foddlonodd Dduw yn ei offrwm archoffeiriadol. Nid yr ystyr ydyw i Grist ddyoddef er ei fod yn Fab, yr hwn nad oedd dan rwymau i ddyoddef. Y mae trefn y geiriau yn gofyn yr ystyr fod Crist wedi *dysgu* ufudd-dod, er ei fod yn Fab, i'r hwn y mae yn naturiol ufuddhau. Drachefn, nid yr *holl* ystyr ydyw fod Crist, er ei fod yn Dduw, wedi ymostwng i gymmeryd ei wneuthur o wraig, ac, fel dyn, ddysgu, megis y mae pob plentyn arall yn dysgu, ufuddhau. Nid yw y golygiad hwn yn gosod arbenigrwydd ar fabolaeth Crist. Drachefn, nid yr ystyr ydyw mai trwy ei ddyoddefiadau y *profwyd* ufudd-dod Crist. Nid "profi" ydyw "dysgu."

**Trwy y pethau a ddyoddefodd**; nid ynddynt yn unig, ond trwyddynt. Dyma un rheswm, o'r hyn lleiaf, dros ei ddyoddefiadau, fel y dysgai oddiwrthynt yr ufudd-dod llwyraf ac anhawddaf.

**Ufudd-dod**; yn llythyrenol ac yn well, "yr ufudd-dod," neu "ei ufudd-dod," sef yr ufudd-dod neillduol hwnw a ofynid ganddo ef ac na ofynid gan neb arall. Cofier o hyd mai y gair hwn sydd yn datgan y syniad ychwanegol a gynwysir yn yr adnodau hyn o'u cydmaru â iv. 15. Yno sonir am gydymdeimlad Crist, a dywedir fod y cydymdeimliad hwnw wedi ffynonellu yn nghyffelybrwydd ei demtasiynau ef i'n temtasiynau ni. Yr oedd y cydymdeimlad hwnw yn gymhwysder ynddo i fod yn Archoffeiriad. Ond yn y bumed benod, nid cydymdeimlad yw y gair a ddefnyddir, ond ufudd-dod. Yr un cymhwysder personol sydd yn y naill a'r llall. Ond y mae ufudd-dod yn seiliedig ar osodiad, yr hwn yw y cymhwysder arall i'r archoffeiriadaeth. Yn yr adnodau hyn, gan hyny, dengys yr awdwr y naill gymhwysder yn ei undeb â'r llall,—y cymhwysder personol fel y mae yn seiliedig ar y cymhwysder perthynasol o osodiad i'r swydd. Drachefn, yn y ffurf o ufudd-dod y mae ei gymhwysder personol yn cynwys nodwedd a berthynai yn unig i Grist, ac nid i ni. Yr oedd ei demtasiynau wedi eu trefnu yn ol cynllun ein temtasiynau ni (iv. 15). Ond efe a ddysgodd hefyd *ei* ufudd-dod, sef yr ufudd-dod hwnw oedd yn ei dduwiol barch, yr hwn a gynwysai lawer mwy nag ymatal oddiwrth bechod; mwy na dim ufudd-dod a roddir i Dduw gan neb ond gan Grist.

**ADN. 9.**—Wedi dangos cymhwysderau Crist i fod yn Archoffeiriad dywed yr awdwr na fuont yn ofer, ond iddo wneyd gwaith ei archoffeiriadaeth yn effeithiol yn achubiaeth dragwyddol y rhai a ufuddhant iddo.

**Wedi ei berffeithio.** Golyga y gair ganlyniad y ddysgyblaeth yr aethai Crist drwyddi, yn ei demtasiynau, ei weddiau, ei dduwiol barch a'i

Awdur iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt
iddo; Wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Arch-offeiriad yn ol 10

---

ufudd-dod. Y diwedd oedd ei berffeithio. Gan fod y pethau a enwyd yn cynwys dysgyblaeth *foesol*, rhaid fod y perffeithrwydd a gynyrchwyd trwyddi yn berffeithrwydd moesol. Myn Rendall fod y gair, yn y lle hwn ac yn ii. 10, yn golygu cysegru i'r swydd o archoffeiriad. Os ydyw yn golygu hyny, yr ystyr ydyw fod ei gymhwysder moesol i'r swydd yn gysegriad arno iddi. Ond yn yr adn. nesaf y dygir y syniad hwn o gysegriad i swydd i mewn. Defnyddir y gair *teleioun* yn Philo ac yn y Testament Newydd yn fynych am berffeithio mewn ystyr foesol. Gwel Phil. iii. 12. O angenrheidrwydd, nid oes glanhau oddiwrth lygredd yn mherffeithiad Crist, yr hwn a osodir allan bob amser yn yr Epistol hwn fel "y dibechod." Ond, fel y gwelsom eisoes, absenoldeb glanhad oddiwrth lygredigaeth moesol oedd yn gwneyd yn angenrheidiol ei berffeithio trwy ddysgyblaeth neillduol iddo ei hun.

**A wnaethpwyd.** Y mae yr iaith Gymraeg yn ddiffygiol o air i osod allan ystyr yr ymadrodd gwreiddiol. Yr ystyr ydyw, nid fod Duw wedi ei wneuthur, trwy benodiad, yn awdwr iachawdwriaeth, ond fod Crist wedi *dyfod i fod* yn awdwr iachawdwriaeth fel canlyniad naturiol y perffeithrwydd a gynyrchwyd ynddo trwy ei ufudd-dod.

**Awdwr**; nid yn Archoffeiriad yn unig, ond, fel canlyniad ei archoffeiriadaeth, yn achosydd gwirioneddol ac effeithiol iachawdwriaeth. Er mwyn dwyn i'r golwg y syniad hwn o effeithiolrwydd archoffeiriadaeth Crist, y mae yr ysgrifenydd sanctaidd yn gochel y gair "gwaredwr," gair na ddefnyddir yn yr Epistol hwn o gwbl. Y mae yr iachawdwriaeth wedi ei dwyn oddiamgylch mor effeithiol fel, yn gyntaf, y mae yn barod i bawb; yn ail, nad yw yn gofyn gan neb ddim ond ufudd-dod i alwad Crist; ac, yn drydydd, y mae yn parhau yn dragywydd.

**ADN. 10.**—Yn adn. 6 dywedir fod gosodiad Crist yn ei swydd archoffeiriadol yn gynwysedig yn y cyfarchiad a roddodd Duw iddo, cyn ei ymgnawdoliad, fel Mab. Yma dywedir i Dduw ei gyfarch drachefn fel Archoffeiriad wedi iddo gael ei berffeithio trwy ei ddyoddefiadau. Fel y mae yr adnodau blaenorol yn desgrifio ei gymhwysderau personol yn cael eu dysgyblu a'u perffeithio ar sail ei osodiad i'r swydd, felly yn yr adn. hon desgrifir ei osodiad i'r swydd fel yn cael ei gydnabod gan Dduw mewn canlyniad i'w berffeithiad personol. Nid ydym i olygu fod cyfarchiad Duw iddo yn osodiad newydd arno i'w swydd. Yn hytrach cynwysa gymmeradwyaeth Duw o'r modd y cyflawnasai waith ei swydd. Trwy gymmeradwyaeth Duw iddo y daeth efe mewn gwirionedd i fod yn awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai aufuddhant iddo. Cymmeradwyaeth Duw ac ufudd-dod y pechadur sydd yn gwneyd yr iachawdwriaeth yn ffaith.

**Wedi ei gyfenwi**; yn hytrach, "gan gael ei gyfarch," mewn cyfeiriad at y geiriau a lefara Duw wrtho, "Tydi ydwyt Offeiriad," &c., adn. 6. Cymer yr awdwr yn ganiataol yma, fel bob amser, fod geiriau y Salmydd i'w cymhwyso at Grist yn ei ddyrchafiad yn gystal â chyn ei ymgnawdoliad. Yr achos o hyny ydyw parhad tragwyddol archoffeiriadaeth Crist. Yn lle "Offeiriad," fel y mae yn adn. 6, dywedir yma "Archoffeiriad." Oddiwrth hyn tyn Delitzsch a Hofmann y casgliad mai yn ei esgyniad i'r nef y gwnaethpwyd Crist yn Offeiriad yn ol urdd Melchisedec, ac mai Archoffeiriad ydyw yn yr ystyr o fod yn wrth-gysgod Aaron. Gwell ydyw oedi yr ystyriaeth o hyn hyd nes y deuwn at yr hyn a ddywed yr awdwr am Melchisedec; ac nid doeth fyddai mabwysiadu

11 urdd Melchisedec. Am yr hwn y mae i ni lawer i'w dywedyd,

---

y golygiad hwn yn fyrbwyll. Y mae llawer mwy yn gynwysedig yn y dywediad fod Crist yn Archoffeiriad yn ol urdd Melchisedec na'i fod yn Frenhin yn gystal ag Archoffeiriad. Ond gellid crybwyll dau beth sydd yn ffafriol i'r golygiad hwn. Yn gyntaf, ni eilw yr awdwr Melchisedec mewn un man yn archoffeiriad, ond bob amser yn offeiriad; ac yn ail, ni sonir fod Melchisedec wedi aberthu. Y casgliad ydyw fod Crist yn Archoffeiriad fel gwrth-gysgod o Aaron, ac eto ei fod yr hyn oedd yn ol urdd Melchisedec. Ond gormod ydyw tynu y casgliad nad oedd Crist yn ol urdd Melchisedec ar y ddaear; a gadawaf y pwnc heb ei benderfynu ar hyn o bryd.

## V.—Ymliwiad a'r Darllenwyr.

v. 11—vi. 20.

Y mae yr holl adran hon o'r Epistol megis rhwng cromfachau. Newydd ddechreu ar y tebygolrwydd rhwng Crist a Melchisedec, gedy yr awdwr y pwnc hyd y seithfed benod. Nid hawdd ydyw gwybod yn sicr paham y gwna hyny. Tybiaf mai y rheswm ydyw fod yr hyn a brofwyd ganddo eisoes am Grist fel Archoffeiriad Brenhinol, yr hyn hefyd, mewn gwirionedd, ydyw pwnc yr Epistol, yn cynwys rhai pethau fyddai yn dra annerbyniol gan ei ddarllenwyr. Hyd yma dangosodd fod pob peth oedd o werth yn yr hen gyfamod yn aros mewn ffurf uwch yn Nghrist. Ond y mae yn awyddus i ddangos iddynt, ymhellach, fod yr hen gyfamod oll i gael ei ddileu, fel goruchwyliaeth annibynol ar Gristionogaeth, a'i lyncu i fyny yn ngoruchwyliaeth yr efengyl. Caled yw yr ymadrodd, ac y mae yn angenrheidiol parotoi meddyliau yr Hebreaid i'w gredu. Parotoi eu hysbryd i'w dderbyn yn ymarferol ac yn galonog ydyw amcan yr adran bresenol. Ymdrecha yr awdwr wneyd hyn mewn dwy ffordd. Yn gyntaf, dengys iddynt y perygl sydd mewn balchder ysbryd, ac, yn ail, cysura hwynt yn wyneb eu siomiant chwerw trwy gyfeirio eu meddyliau at addewid a ffyddlondeb Duw. Balchder oedd wrth wraidd dallineb yr Iuddewon a'u gwrthodiad o Grist. Fel y sylwa un hanesydd, "trwy addoli cyfoeth a mawredd ac awdurdod dallwyd hwynt fel na welent brydferthwch crefydd ysbrydol; yr un hunan-dwyll gorchfygol sydd yn dyfod i'r golwg yn y ddau amgylchiad, sef pan y gwrthodant y Gwaredwr a phan y galwant Herod yn dduw" (Merivale, *Romans under the Empire*, ch. lix). Yr unig feddyginiaeth iddynt ydyw gollwng eu gafael ar yr hen gyfamod a myned yn ol am esampl o ffydd ymhellach nag Aaron, hyd at Abraham, a chredu fod Duw yr un yn ei ffyddlondeb i'w addewid, yn cadw cyfamod a thrugaredd i'r rhai a'i carant ef ac a gadwant ei orchymynion, pan y mae yr hen oruchwyliaeth yn trengu, ag ydoedd pan y tyngodd i Abraham. Gallwn ranu yr adran, gan hyny, yn ddwy. Y mae y gair "anmhosibl" yn digwydd mewn man pwysig yn y ddwy, ac etyb y gair y pwrpas yn dda o ddangos neillduolrwydd y naill ran a'r llall.

### 1.—*Adnewyddiad yn Anmhosibl.*

v. 11—vi. 8.

**ADN. 11.—Am yr hwn.** Gwahaniaetha esbonwyr yn eu barn ar y cwestiwn pwy a feddylir, pa un ai Crist ai Melchisedec, a darllena lliaws "am yr hyn," yn lle "yr hwn," gan olygu y cyffelybrwydd rhwng Crist a Melchisedec. Ymddengys i mi mai Crist a feddylir, ond Crist fel y mae yn Archoffeiriad yn ol urdd Melchisedec; am y rheswm fod y

ac anhawdd eu traethu, o achos eich bod chwi yn hwyrdrwm
eich clustiau. Canys lle dylech fod yn athrawon o ran amser, 12
y mae arnoch drachefn eisieu dysgu i chwi beth *ydyw*
egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw: ac yr ydych yn

---

gwirionedd hwn yn cynwys prif syniad yr Epistol, ac am hyny y dywedir yma fod llawer i'w draethu arno, ond fod yr hyn sydd yn meddwl yr awdwr yn anhawdd ei draethu, ac yn anhawdd iddynt hwythau ei dderbyn. Nid y ffurf o alegori yn yr hon y gwisgir y syniad yn y seithfed benod, ond y syniad ei hun, a feddylir wrth y peth anhawdd.

**Anhawdd eu traethu**; yn hytrach, fel y cyfieitha Dr. Thomas, "caled i'w dehongli." Am fod eisiau dehongli arnynt, cyflwynir hwynt i sylw yn y seithfed benod mewn alegori neu ddehongliad.

**A'ch bod**; yn hytrach, "eich bod wedi myned." Yr oeddynt wedi dirywio, yn ystod y deugain mlynedd oedd wedi myned heibio er pan yr esgynasai yr Archoffeiriad Mawr i'w gysegr. Gwel x. 32. Sylwa Bruce yn darawiadol ar y gwahaniaeth rhyngddynt a'r Corinthiaid. Yr oedd y naill a'r llall yn rhai yr oedd llaeth yn briodol iddynt; ond plant oedd y Corinthiaid, ac am hyny cwerylent; hen bobl yn eu hail blentyndod oedd yr Hebreaid ac, am hyny, swrth a hwyr-drwm eu clustiau oeddynt. Y mae, pa fodd bynag, hyn o debygolrwydd rhyngddynt, fod plentynrwydd y naill a'r llall yn gwreiddio mewn balchder,—balchder deall yn y Corinthiaid, balchder crefyddol yn yr Hebreaid. Siomwyd y ddau trwy groes Crist. Gwel 1 Cor. i. 18—25.

**Hwyrdrwm**. Cyfieithir yr un gair yn "musgrell" yn iv. 12. Dynion oeddynt wedi llaesu dwylaw, wedi colli hyder, os nad gobaith, yn tynu yn ol, ac nid yn gwthio ymlaen. Y mae y peth gwrthgyferbyniol i'w gael yn y saint a enwir yn yr unfed benod ar ddeg.

**ADN. 12.**—Dylasent fod erbyn hyn yn athrawon o egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw, yn sefyll yn yr un berthynas â'r eglwysi Cristionogol eraill ag y saif yr awdwr ynddi tuag atynt hwy eu hunain. Dylasent hwy egluro i eraill gyssylltiad y ddwy oruchwyliaeth â'u gilydd, fel ag i wneyd ysgrifenu yr Epistol hwn atynt yn afreidiol. Pan yr oedd yr awdwr yn ysgrifenu, yr oedd yr "athrawon," y mae yn bur debyg, wedi ymgorphori yn ddosbarth neillduol yn yr eglwys. Ond y mae gwahaniaeth rhwng desgrifiad yr awdwr hwn ohonynt a'r hyn a ddywedir am danynt rai blynyddoedd ar ol hyn yn "Athrawiaeth y Deuddeg Apostol," y traethodyn henafol iawn a ddarganfyddwyd yn ddiweddar, lle y desgrifir hwynt fel dosbarth israddol i'r prophwydi. Cymharer cyflwr isel yr Hebreaid hyn, os eglwys Jerusalem yw yr hon yr ysgrifenwyd yr Epistol ati, a'r hyn a adroddir yn yr Actau am Pedr, Barnabas, Paul, ac Iago, yn ymgynghori âg aelodau yr eglwys hono ynghylch rhai gofyniadau anhawdd.

**Beth ydyw egwyddorion**; neu, "y mae arnoch eisieu rhywun i ddysgu i chwi egwyddorion," &c. Hwn ydyw y darlleniad goreu. Dull gwylaidd yr awdwr o gyfeirio ato ei hun ydyw y gair "rhywun."

**Egwyddorion**. Ystyr gyntaf y gair ydyw pethau sydd, o'u gosod wrth eu gilydd, yn gwneyd rhes. Oddiwrth hyn y daeth y gair i olygu y wyddor, y llythyrenau sydd yn gwneyd geiriau, ac yna "elfenau gwybodaeth" o unrhyw bwnc. Rhaid troi y rhai ddylent fod yn athrawon yn ol i'r llyfr corn.

**Ymadroddion**, neu "oraclau;" sef y datguddiedigaethau a roddodd Duw yn y prophwydi ac yn Nghrist; i. 1.

**Ac yr ydych yn rhaid i chwi wrth laeth, ac nid bwyd cryf.** Gwel 1 Cor. iii. 2.

13 rhaid *i chwi* wrth laeth, ac nid bwyd cryf. Canys pob un a'r
sydd yn ymarfer â llaeth, *sydd* anghynnefin â gair cyfiawnder;
14 canys maban yw. Eithr bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith,

---

**ADN. 13.—Canys pob un sydd yn ymarfer a llaeth sydd anghynefin a gair cyfiawnder**; yn hytrach, "Canys pob un sydd yn cymmeryd ei ddogn o laeth sydd ddibrofiad yn ngair cyfiawnder." Nid prawf ydyw yr adn. hon fod yn rhaid i'r Hebreaid wrth laeth, gan eu bod yn ddibrofiad yn ngair cyfiawnder. I'r gwrthwyneb, datgan ei syndod y mae yr awdwr fod yn rhaid iddynt hwy, yn anad neb, wrth laeth, yn gymaint ag *nad ydynt* yn ddibrofiad yn ngair cyfiawnder. Oblegid i'r rhai sydd eto heb gael nemawr o brofiad, yr ymborth naturiol ydyw llaeth, am nas gellir edrych ar y cyfryw ond megis babanod, ac ni feia neb ar faban am chwenychu y llaeth. Ond i'r Hebreaid, y rhai nid ydynt yn fabanod, a'r rhai a gawsant lawer o brofiad yn ngair cyfiawnder, yr ymborth a ddylai fod yn gymhwys ydyw bwyd cryf. Eithr i'r rhai perffaith y mae bwyd cryf yn briodol, ac nid yw yr Hebreaid hyn yn rhai perffaith. Dyma yr anhawsder, ac nid oes gwaredigaeth trwy ddychwelyd at yr athrawiaethau sydd yn dechreu rhai yn Nghrist, y rhai a ddysgir i fabanod dibrofiad, nac ychwaith trwy roi bwyd cryf i rai y mae yn rhaid iddynt wrth laeth. Yr unig anogaeth briodol ydyw i'r Hebreaid dynu ymlaen at berffeithrwydd a gadael yr athrawiaethau dechreuol.

**Gair cyfiawnder.** Yr wyf yn methu boddloni fy meddwl pa un o ddau olygiad ar ystyr y geiriau hyn sydd gywir. Gallant olygu "yr athrawiaeth am drefn Duw i gyfiawnhau pechadur," yn gyffelyb fel y sonir am "yr ymadrodd am y groes" ac am "air y cymod." Pe gallaswn gredu mai yr Apostol Paul ydyw awdwr yr Epistol, derbyniaswn y golygiad hwn yn ddibetrus. Ond, gan nad oes un cyfeiriad arall yn yr Epistol at "gyfiawnhad," dan yr enw yna, tueddir fi i feddwl mai yr ystyr yn yr adn. hon ydyw, "athrawiaeth am berffeithrwydd moesol." Y mae y rhai bach yn Nghrist yn ddibrofiad yn yr athrawiaeth sydd yn dysgu perffeithrwydd, ac, o'i deall, yn ffurfio dyn perffaith, tra y mae y dyn perffaith yn gallu amgyffred yr athrawiaeth, yr hon sydd, ar ol cynyrchu perffeithrwydd, yn ei ddwyn ar gynydd yn barhaus. Nid gwybodaeth ydyw amcan yr athrawiaeth, ond ymarferiad. Y mae yr athrawiaeth sydd yn dechreu dynion yn Nghrist yn cynyrchu cymmeriad ysbrydol, fel y mae llaeth yn peri cynydd y baban. Ond yn raddol, fel y mae y gallu i fwyta bwyd cryf yn cynyddu, y mae yr angenrheidrwydd am fwyd cryf yn cynyddu hefyd. Felly yn ysbrydol. Ar y dechreu y mae y credadyn yn ddyeithr o ran profiad i'r athrawiaeth am gyfiawnder, hyny ydyw, am berffeithrwydd moesol. Y cwbl a ŵyr ef ydyw fod yr efengyl yn dwyn iachawdwriaeth dragwyddol iddo, ac ar yr athrawiaeth hono yr ymbortha. Ond yn raddol y mae ei gymmeriad moesol yn cryfhau, ac i'r graddau y daw efe i feddiant o fwy o berffeithrwydd mewnol, i'r un gradd y gall ddeall yr athrawiaeth am berffeithrwydd, fel y dysgir hi yn yr efengyl.

**ADN. 14.—Ond bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith.** Y mae y gair "perffaith" yn hollol gywir, can belled ag y golyga gymmeriad moesol. Ond prin y mae y gair yn awgrymu yn eglur y syniad sydd yn yr ymadrodd gwreiddiol, fod y perffeithrwydd hwn yn ganlyniad cynydd graddol, ac felly fod ymborth yn cynyrchu y gallu i ddefnyddio ymborth. Dylai y pwyslais fod ar y gair hwn, a gwell fyddai darllen, "i rai perffaith y perthyn bwyd cryf," ac am hyny ofer fyddai porthi yr Hebreaid hyn â bwyd cryf, oherwydd eu bod wedi myned yn ol i gyflwr o *ail* blentyndod.

y rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synwyr wedi ymarfer i ddosparthu drwg a da.

## PENOD VI.

AM hynny, gan roddi heibio yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai 1
yng Nghrist, awn rhagom at berffeithrwydd; heb osod i

---

**Y rhai oherwydd cynefindra, &c.** Os cywir y golygiad a dderbyniasom ar y gair "cyfiawnder" yn yr adn. flaenorol, yr un peth a olygir yn yr adn. hon drachefn wrth y "da," sef "yr hardd" mewn ystyr foesol. Tra y mae y plentyn yn ddibrofiad o'r athrawiaeth sydd yn egluro ac yn cynyrchu perffeithrwydd cymmeriad, y mae y perffaith, oherwydd y cynydd hwnw sydd wedi ei wneyd ef yn ddyn perffaith, yn gallu adnabod cam flâs, yn gallu gwybod trwy arferiad beth sydd yn hardd a pha beth sydd yn anhardd mewn moes a chymmeriad. Fel y mae synwyrau y corph yn cael eu dysgyblu a'u coethi trwy hir ymarfer i wahaniaethu rhwng lliwiau, seiniau, aroglau, &c., felly y mae i'r ysbryd ei "synwyrau," fel y gallem eu galw, y rhai sydd trwy hir arfer yn gallu gwahaniaethu ar unwaith, bron yn ddiarwybod, ac heb ddefnyddio rheolau ar y pryd i'w cyfarwyddo, rhwng yr hardd a'r anhardd mewn ystyr foesol. Y mae mor wir fod gweled yn cryfhau y llygad ag ydyw nas gall neb weled heb lygad.

**PEN. VI.—ADN. 1.—Am hyny.** Am nad ydych yn fabanod dibrofiad, rhaid i ni adael o'r neilldu yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist; ac am nad ydych yn rhai perffaith, nis gellwch dderbyn bwyd cryf; am hyny, nid oes dim yn ol i chwi ond i ymgyrhaedd at berffeithrwydd.

**Gan roddi heibio.** Awgryma y gair gwreiddiol ryw gymaint o ddiflasdod ar y peth: "gan daflu o'r neilldu," "*let us have done with it.*"

**Yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist.** Y cyfieithiad llythyrenol ydyw "ymadrodd dechreuad Crist." Ond fe ellir cyssylltu y gair "Crist" â'r gair "ymadrodd" neu â'r gair "dechreuad." Gall mai yr ystyr ydyw, gan roi heibio draethu am ddechreuad Crist, am ffurfiad cyntaf Crist yn yr enaid. Ond y mae y golygiad yna yn dwyn i mewn syniad na cheir mohono yn yr Epistol hwn, sef athrawiaeth sylfaenol duwinyddiaeth yr Apostol Paul am undeb â Christ (Col. i. 27). Yr ystyr arall yw, "gan roi heibio yr athrawiaeth hono a ddysgir gan Grist yn nechreuad y bywyd crefyddol." Yr wrthddadl yn erbyn y golygiad hwn ydyw ei bod yn annhebygol y buasai yr awdwr yn dwyn enw Crist i mewn pan yn anog ei ddarllenwyr i roi heibio yr athrawiaeth. Ond (1) ni raid ymwrthod, fel y sylwa Calvin, â'r sylfaen er mwyn codi y mur; ac (2) wrth ddwyn enw Crist i mewn, y mae yr awdwr yn gwahaniaethu rhwng athrawiaethau dechreuol Cristionogaeth a defodau yr hen oruchwyliaeth. Rhaid rhoi heibio yr olaf er mwyn y cyntaf, a'r cyntaf drachefn er mwyn bwyd cryf.

**Awn rhagom at berffeithrwydd.** Ystyr llythyrenol y gair a gyfieithir "awn rhagom" ydyw "cluder ni." Ceir y gair yn 2 Pedr i. 21, "megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân;" neu "megis y cludwyd hwy." Yr ystyr yn y ddau le ydyw, "gosod eu hunain dan ddylanwadau cryfion Duw." Trwy wneyd *hyn* y cyrhaeddwn berffeithrwydd. Yr hyn y gelwir arnom ni i'w wneuthur ein hunain ydyw "taflu o'r neilldu yr athrawiaeth ddechreuol," a gadael i'r athrawiaethau uwch ein cludo ymlaen hyd at berffeithrwydd; canys bywiol yw gair Duw a nerthol. Ond arferir y gair weithiau i olygu "pwyso ymlaen," "ymegnïo." Dichon mai hwn yw yr ystyr yma. Y mae yr esbonwyr yn gwahaniaethu ar y cwestiwn,

lawr drachefn sail i edifeirwch oddi wrth weithredoedd meirwon,

---

pa un ai meddwl yr awdwr yw myned ymlaen i draethu ar bynciau uwch yn yr Epistol, ai ynte cynyddu hyd at berffeithrwydd yn y cymmeriad Cristionogol. O'm rhan fy hun, nid oes dim amheuaeth i fod ar y pwnc. Amcan yr awdwr yw dysgu fod perffeithrwydd cymmeriad ysbrydol yn angenrheidiol tuag at ddeall yr athrawiaethau uwch, fel y mae llaeth yn gymhwys i blant a bwyd cryf i ddynion mewn oed.

**Heb osod i lawr, &c.** Y golygiad canlynol sydd yn ymddangos i mi ar hyn o bryd y mwyaf naturiol ar ystyr y frawddeg anhawdd hon: Bod yr Hebreaid hyd yn hyn wedi bod yn ymdroi gyda'r athrawiaeth am y gwahanol fedyddiadau ac am arddodiad dwylaw, am adgyfodiad y meirw a'r farn ddiweddaf, a bod yr awdwr yn galw yr athrawiaeth am y pethau hyn yn sail ar yr hon y gall dyn godi adeiladaeth o edifeirwch a ffydd tuag at Dduw; ond ei fod yn awyddus iddynt fyned ymlaen i adeiladu rhyw bethau uwch eu natur nag edifeirwch a ffydd tuag at Dduw, sef llawn sicrwydd gobaith hyd y diwedd, ffydd ac amynedd (yn lle musgrellni), y grasusau sydd yn angori yr enaid yn ddiogel wrth y pethau sydd o'r tu fewn i'r llen, ac yn arbenig wrth Iesu fel Archoffeiriad tragwyddol yn ol urdd Melchisedec. Fel angraifft o'r ddau ddosbarth, gallem enwi Noah ac Abraham. Ffydd gyfyng ei gweithrediad oedd gan Noah. Hyderai gael ei achub, a hyny oedd y cwbl. Ond credai Abraham addewid eangach Duw, a gwelai y tir pell. Yn wir y mae yr Apostol Pedr yn cymharu ffydd Noah i ras dechreuol edifeirwch, pan y gofyna dychweledigion am gael eu bedyddio, ar drothwy y bywyd ysbrydol (1 Pedr iii. 20). Yn ol y golygiad hwn nid yw y geiriau "edifeirwch" a "ffydd" yn gosod allan beth ydyw y sail; ond yn hytrach, y grasau ysbrydol a adeiledir ar y sail ydyw "edifeirwch a ffydd." Yn y rhan ddilynol y dywedir beth yw y sail, sef yn y gair "athrawiaeth." Y mae y beirniaid goreu yn gwahaniaethu gyda golwg ar ffurf y gair gwreiddiol a gyfieithir "athrawiaeth" (pa un ai *didachēs* ai *didachēn* ddylid ddarllen). O'm rhan fy hun, yr wyf yn derbyn y ffurf *didachēn* sydd yn gwneyd y gair yn eglurhad ar ystyr a chynwys y "sail." Ymhellach, golygaf fod y geiriau "bedyddiadau," "arddodiad dwylaw," "adgyfodiad y meirw," "barn dragwyddol," i'w cyssylltu â'r gair "athrawiaeth." Yr ystyr, gan hyny, ydyw mai y sail athrawiaethol i edifeirwch a ffydd ydyw yr athrawiaeth (1) am natur bedydd Cristionogol o'i gymharu â bedyddiadau eraill, (2) am arddodiad dwylaw fel datganiad awdurdodol o faddeuant pechodau yr edifeiriol, (3) am adgyfodiad y meirw a'r farn fel y ddau amgylchiad fydd yn penderfynu tynged dragwyddol y pechadur. Ond edrychwn i'r geiriau ychydig yn fanylach.

**Gosod i lawr sail.** Golyga y gair yn y lle hwn "gosod i lawr i ni ein hunain." Gosododd Crist y sylfaen pan y pregethodd edifeirwch a ffydd yn Nuw; Marc i. 15. Nid oes angen i ninau osod y sail hon drachefn drosom ein hunain yn ein dysgeidiaeth athrawiaethol; llawer llai bod wrthi o hyd heb wneyd dim arall ond gosod i lawr y sylfaen, yn lle myned rhagom i oruwchadeiladu.

**Edifeirwch oddiwrth weithredoedd meirwon.** Gall y gwreiddiol oddef yr ystyr fod edifeirwch a ffydd yn cael eu gosod allan yma fel cynwys y sail. Ond llawer mwy tebygol ydyw y golygiad mai yr adeiladwaith a godir ar y sail ydynt. Ar yr athrawiaeth a grybwyllir yn yr adn. y mae y gras o edifeirwch a ffydd yn gorphwys.

**Meirwon.** Gellir deall y gair fel cyfeiriad at yr halogedigaeth a gynyrchid trwy gyffwrdd â chorph marw (fel yn ix. 14). Ond y mae yn amheus a fuasai y cyfeiriad hwn yn ddigon eglur i awgrymu ei hun i feddwl un o ddarllenwyr cyntaf yr Epistol. Dichon mai yn y gair hwn yr

ac i ffydd tu ag at Dduw, I athrawiaeth bedyddiadau, ac arddod- 2

---

ymguddia yr achos o'r edifeirwch. Try dynion ymaith oddiwrth eu gweithredoedd eu hunain, fel sail eu gobaith, fel y troant ymaith oddiwrth y marw sydd yn llygru. Sylwa Davidson na pherthyn i'r Epistol hwn y gwahaniaeth a gawn yn Epistolau Paul rhwng ffydd a gweithredoedd. Ymddengys i mi y byddem yn llawer nes i'r gwirionedd pe dywedem mai y gwahaniaeth hwn ydyw canolbwnc yr Epistol, ond yn unig fod yr awdwr yn ystyried y cwestiwn, nid oddiar safle cyfraith, fel y gwna Paul, ond oddiar safle addoliad a chrefydd. Os felly, eglura hyn paham y defnyddia yr awdwr yr ymadrodd dyeithr "edifeirwch *oddiwrth*." Ni cheir y dull hwn o eirio ond yn yr adn. hon. Y tebygolrwydd yw ei fod yn golygu, nid edifeirwch *am* weithredoedd pechadurus, ond edifeirwch sydd yn peri i'r dyn droi ymaith oddiwrth ei weithredoedd ei hun fel haeddiant gerbron Duw. Y mae y golygiad hwn yn dangos y rheswm paham y defnyddir y rhif lliosog, "bedyddiadau," a'r ffurf neillduol *baptismos*, yn lle y ffurf *baptisma*. Buasai yr olaf yn cyfyngu y cyfeiriad at y bedydd Cristionogol; y mae y blaenaf yn cynwys hwn a'r lleill. Yn awr, yr athrawiaeth am fedydd ydyw y sail athrawiaethol i edifeirwch. Yr oedd Ioan yn bedyddio i edifeirwch (Matt. iii. 11), a'r apostolion a ddywedent, "Edifarhewch a bedyddier pob un ohonoch" (Act ii. 38—41; iii. 13—19; v. 31; xi. 18).

**ADN. 2.—Arddodiad dwylaw.** Rhaid cyssylltu y geiriau hyn drachefn â'r gair "athrawiaeth." Yr oedd yr athrawiaeth am arddodiad dwylaw yn sail athrawiaethol i ffydd yn Nuw. Dodiad dwylaw yr apostolion oedd y ffurf allanol i arwyddo fod Duw yn derbyn edifeirwch y pechadur ac yn rhoddi iddo ddawn yr Ysbryd Glan. Gwel Act. viii. 17, lle y dangosir fod bedydd yn anghyflawn heb arddodiad dwylaw; Act. xix. 5, 6, lle y gwelir fod arddodiad dwylaw yn dilyn bedydd, a dawn yr Ysbryd yn effaith arddodiad dwylaw. Oblegid y cyssylltiad agos hwn rhwng bedydd ac arddodiad dwylaw, y mae yn lled eglur mai at yr arddodiad dwylaw ar y dychweledigion ar ol eu bedyddio y cyfeiria yr awdwr yn yr adn. hon; ac nid oes eisiau tybied fod yma unrhyw gyfeiriad at ordeiniad i swydd eglwysig.

**Adgyfodiad y meirw a'r farn dragwyddol.** Cyssyllter y geiriau hyn â'r gair "athrawiaeth." Yr oedd yr athrawiaeth am yr adgyfodiad a'r farn yn sail athrawiaethol i edifeirwch a ffydd. I obaith yr adgyfodiad y bedyddid y dychweledigion. Yn wir, y mae y gair "bedydd" yn cynwys arddodiad dwylaw, a'r gair "adgyfodiad" yn cynwys y farn dragwyddol. Felly, y mae yr awdwr yn dwyn at eu gilydd y ddau gwestiwn mawr a phwysig sydd yn cyfarfod y pechadur ar drothwy ei yrfa grefyddol. Y naill ydyw barn yn y sefyllfa ddyfodol, i'w gwynebu trwy edifeirwch a ffydd; a'r llall ydyw maddeuant ar amod edifeirwch a ffydd. Ond yr hyn y cwyna efe o'i herwydd ydyw fod yr Hebreaid Cristionogol yn aros gyda'r pethau dechreuol hyn, y rhai ydynt oll yn troi o amgylch bywyd crefyddol y dyn ei hun, ac anoga hwynt i fyned rhagddynt hyd at y perffeithrwydd hwnw yn y cymmeriad ysbrydol sydd yn ymgodi at athrawiaethau eangach, fel yr athrawiaeth am Grist yn Archoffeiriad yn ol urdd Melchisedec.

**Y farn**; yn llythyrenol, "dyfarniad" neu "dedfryd." Ond dichon nad oedd yr awdwr yn bwriadu gwahaniaethu rhwng *krisis* a *krima*.

**Tragwyddol.** Hyny yw, barn derfynol; barn y mae ei chanlyniadau yn dragwyddol. Cawn weled eto mai athrawiaeth yr awdwr hwn ydyw fod y farn ar ol angau yn derfynol. Gwel. ix. 27.

Barna rhai esbonwyr fod yr holl bethau a grybwyllir yma yn perthyn i

3 iad dwylaw, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragywyddol. A
4 hyn a wnawn, os caniattâ Duw. Canys ammhosibl *yw* i'r rhai
a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaeth-
5 pwyd yn gyfrannogion o'r Yspryd Glân, Ac a brofasant

---

Iuddewiaeth yn gystal ag i Gristionogaeth, ac mai amcan yr awdwr ydyw cael gan yr Hebreaid godi at athrawiaethau arbenig yr efengyl. Diau fod gwir yn hyn. Ond y mae yn lled eglur hefyd ei fod yn awyddus iddynt ddyrchafu at athrawiaethau uwchaf Cristionogaeth.

**ADN. 3.—A hyn,** sef myned rhagom at berffeithrwydd mewn cymmeriad ysbrydol, "a wnawn." Yn ol rhai o'r llawysgrifau henaf y darlleniad ydyw: "a hyn gwnawn." Ond y darlleniad arall yw y tebycaf.

**Os caniatta Duw.** Canys y mae rhai dynion yn cael eu cau allan gan Dduw, fel nas gallant byth fyned gam ymlaen yn nghyfeiriad perffeithrwydd ysbrydol. Y mae yr awdwr yn anturio hyderu nad yw yr Hebreaid hyn wedi syrthio dan farn Duw. Ond nid yw heb bryderu am danynt. I ddangos yr achos o'i bryder desgrifia yn yr adnodau dilynol pa fath ddynion ydyw y rhai hyny y mae yn anmhosibl eu hadnewyddu ac na chaniata Duw iddynt fyned ymlaen. Wedi rhoi y darluniad pruddaidd hwn, ychwanega ei fod yn coelio am ei ddarllenwyr bethau ynglyn wrth iachawdwriaeth. Eto y rheswm paham y dŵg yr awdwr yr hyn sydd yn dilyn i mewn yma ydyw y perygl i ddynion sydd wedi peidio bod yn blant ac heb ddechreu bod yn berffaith syrthio ymaith oddiwrth Gristionogaeth yn hollol ac ail-groeshoelio Mab Duw a'i osod yn watwar. Y mae yn eglur mai y geiriau "os caniata Duw" sydd yn cyssylltu yr anogaeth i fyned rhagddynt at berffeithrwydd â'r desgrifiad difrifol iawn o'r rhai y mae yn anmhosibl eu hadnewyddu. Nid anmhosibilrwydd tufewnol yn y dynion eu hunain yn unig a olygir, ond hefyd, yn ychwanegol at hwnw, anmhosibilrwydd yn codi o benderfyniad Duw i'w rhwystro. Gwel iii. 18, 19, lle y dywedir "na chaent," ac hefyd "na allent," fyned i mewn. Gochelwn dybied, gyda Davidson a Farrar, nad oes dim yn y geiriau "os caniata Duw" ond math o "*pious formula.*"

**ADN. 4—ADN. 6.**—Cyn gwneyd cais i esbonio amcan ac ystyr cyffredinol yr adnodau hyn, ymdrechaf egluro y prif ymadroddion sydd ynddynt.

**A oleuwyd unwaith.** Defnyddir y gair goleuo yn yr Hen Destament (Salm xix. 8) a'r Newydd am waith Duw yn datguddio i ddynion wirioneddau ysbrydol yn eu pwysigrwydd a'u gogoniant. Gwel Eph i. 18; 2 Cor. iv. 4. Erbyn amser awdwr yr Epistol at yr Hebreaid y mae y gair wedi cael ystyr arbenig am ddechreuad y bywyd ysbrydol, fel yn x. 32, yr hyn a elwir yn x. 26 yn "dderbyn gwybodaeth y gwirionedd;" ac yn y ganrif nesaf daeth i olygu yr un peth â bedydd yn ei agwedd fwyaf ysbrydol a thufewnol. Golygiad y tadau oedd mai bedydd ydyw ystyr y gair yn yr adn. hon; yn wir, y mae y cyfieithiad henafol i'r Syriaeg, y Peshito, yn darllen yn yr adn. hon, "wedi eu bedyddio unwaith;" ond priodoli yr oeddynt ystyr i'r gair yn yr Epistol hwn oedd yn ffynu yn eu dyddiau hwy. Rhaid cydnabod, pa fodd bynag, fod y gair yn golygu yn yr adn. hon y goleuni ysbrydol hwnw nad ydyw gan neb ond gwir gredinwyr.

**Ac a brofasant y rhodd nefol.** Credaf ei bod yn annichon i neb benderfynu yn hollol pa beth yn arbenig a olygir wrth y "rhodd nefol." Tueddir fi i dderbyn y naill neu y llall o'r ddau olygiad hyn, sef un ai mai Crist ei hun a feddylir (fel yn 2 Cor. ix. 15), ai ynte y goleuni neu ddatguddiad a grybwyllwyd eisoes yn y gair "goleuwyd." Ond ar yr

ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, Ac a syrthiant 6
ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch; gan eu bod yn

---

ymadrodd "a brofasant" y mae y pwyslais. Ystyr y gair ydyw "profi blâs," "archwaethu." Cyfeiria yr awdwr at y dynion hyny sydd, nid yn unig wedi eu goleuo yn ysbrydol, ond hefyd wedi gwybod blâs y rhodd sydd wedi dyfod o'r nef.

**Cyfranogion o'r Ysbryd Glan.** Ar ol eu goleuo ac mewn canlyniad i fedydd ac arddodiad dwylaw, derbyniai y dychweledigion ddawn yr Ysbryd Glân. Yr oedd y bywyd goruwchnaturiol wedi dechreu gweithio yn gryf ynddynt, ac un effaith o'i bresenoldeb oedd llefaru â thafodau. Ond nid oedd hyny ond un o'r effeithiau. Cyfeiria yr awdwr at y ddawn gyffredinol oedd wrth wraidd yr holl amrywiol amlygiadau hyny. Ni ddysgir yn yr Epistol hwn yr athrawiaeth am breswyliad yr Ysbryd Glân yn y credadyn, yr hon a ddysgir yn Epistolau Paul. Yr un pryd nid oes dim yn yr Epistol yn anghyson â hi.

**Ac a brofasant ddaionus air Duw**; neu, "ac a brofasant mor dda ydyw gair Duw." Nid yn unig y maent wedi profi ei *flas*, ond y maent hefyd wedi archwaethu mor dda ydyw ynddo ei hun. O'r blaen ar y gair "profi" neu "archwaethu" yr oedd y pwyslais; yn awr y mae y pwyslais ar y gair "da." Erbyn hyn gall y rhai a archwaethasant y rhodd nefol edmygu, desgrifio, datgan priodoleddau cyffredinol y datguddiad y mae Duw wedi ei roddi yn yr efengyl. Y mae yr un gwahaniaeth rhwng y ddau beth ag sydd rhwng archwaeth dyn newynog ac archwaeth y neb sydd yn feirniad ar fwydydd a'u blâs.

**Nerthoedd y byd a ddaw.** Dadleua Dr. Thomas yn gryf mai yr hyn a feddylir ydyw "y profiad a gawsai y rhai hyn o'r dylanwadau sydd briodol i'r ystyriaeth am fodolaeth, am natur, ac am barhad byd arall." Yr hyn sydd yn fy ngorfodi i gredu mai nid hwn yw yr ystyr ydyw y gair "nerthoedd," yn y rhif lliosog. Efallai y gallem ddeall y gair "nerth" yn yr ystyr o ddylanwad ar feddyliau dynion, megis yn Phil. iii. 10, "grym ei adgyfodiad ef." Ond ymddengys yn lled eglur fod "nerthoedd" yn cyfeirio at y grymusderau goruwchnaturiol hyny a weithredent ar a thrwy ddynion yn yr oes Apostolaidd, o wahanol nodweddau, rhai yn nerthoedd i gyflawni gwyrthiau, i adfer y claf, i lefaru â thafodau, &c.; eraill o natur fwy ysbrydol, megis argyhoeddiad y lliaws ar ddydd y Pentecost. Gwel Act. ii. 16—21; Gal. iii. 5. Drachefn, ymddengys i mi fod yr enw "y byd a ddaw" yn golygu yn yr Ysgrythyr sefyllfa pethau ar y ddaear mewn adeg ddyfodol, nid yn y nefoedd. Yr unig gwestiwn sydd yn dra amheus ydyw hwn, Pa un ai cyfnod yr efengyl, o esgyniad Crist hyd ei ail ddyfodiad, a feddylir wrtho, ai ynte y cyfnod ar ol ei ail ddyfodiad? Ond gan fod yr awdwr yn yr adn. hon yn sôn am ddynion oedd eisoes wedi profi y nerthoedd hyn, dichon mai mwy dyogel ydyw tybied mai ystyr yr enw ydyw "y byd yr hwn oedd i ddyfod, ac a ddaw o hyn hyd ail ymddangosiad Crist."

**Ac a syrthiant ymaith**; yn hytrach, "ac a syrthiasant ymaith." Cymharer y geiriau "llithro ymaith" yn ii. 1. Rhaid esbonio yr ystyr oddiwrth x. 26—29. Nis gall fod yr adnodau hyny yn cyfeirio at ymddygiad gwaeth na'r adn. hon. Gan hyny, y mae yn gynwysedig mewn "syrthio ymaith" bechu yn wirfoddol, mathru Mab Duw, barnu yn aflan waed y cyfamod, difenwi Ysbryd y Gras, a thynu yn ol (x. 38). Nid syrthio i bechod a feddylir, ond ymadaw yn hollol â Christionogaeth. Ceir yr un gair yn Ezec. xx. 27, ac yn yr un ystyr, sef teyrnfradwriaeth yn erbyn Duw: "Yn hyn y'm cablodd eich tadau, gan wneuthur o honynt gamwedd i'm herbyn."

ail groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn *ei* osod yn

---

**Ymadnewyddu drachefn.** Y cyfieithiad cywir ydyw "adnewyddu drachefn." Nid yr ystyr ydyw nas gallant hwy ymadnewyddu, hyny yw, adnewyddu eu hunain, er y gall Duw eu hadnewyddu. Hwn yw esboniad De Wette. Ond ni oddef y geiriau yr ystyr hwn. Y mae y gair i'w gyssylltu â'r gair "anmhosibl:" "Anmhosibl yw adnewyddu drachefn y rhai a oleuwyd unwaith," &c. Tybia y gair "drachefn" eu bod wedi eu hadnewyddu unwaith; ac nid oes genym hawl i briodoli unrhyw ystyr gwanach i'r gair nag a roddir iddo gan yr Apostol Paul yn Tit. iii. 5: "Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac *adnewyddiad* yr Ysbryd Glân." Y mae yn bosibl i ddynion syrthio ymaith oddiwrth yr adnewyddiad neu yr adenedigaeth yma, ac y mae hefyd yn anmhosibl eu hadnewyddu drachefn a'u hadfer i gyflwr o adenedigaeth. Hyn ydyw ystyr diymwad yr awdwr. Y mae yr holl dadau eglwysig, yn wir pob esboniwr cyn Erasmus, yn meddwl mai ail fedydd a olygir wrth yr adnewyddiad hwn. Barnent fod yr awdwr, tra yn caniatau y posibilrwydd o achubiaeth y gwrthgiliwr, yn gwahardd ail fedydd iddo. Ni raid dyweyd fod yr esboniad yn hollol annichonadwy; oblegid (1) "i edifeirwch" a ddywedir, nid "*ar* eu hedifeirwch;" (2) y mae y rheswm a rydd yr awdwr i brofi fod adnewyddiad yn anmhosibl yn ddigon i brofi anmhosibilrwydd achubiaeth; ac (3) nid oes dim pwysig mewn gwahardd ail fedydd, os caniateir y posibilrwydd o adferiad ysbrydol. Ond tueddai rhai o esgobion yr Eglwys Orllewinol i wrthod yr Epistol am ei fod, i'w tyb hwy, yn dysgu nad oes adferiad i neb a wrthgiliodd unwaith, tra y derbyniai Donatus yr Epistol am fod yr athrawiaeth hon ynddo.

**I edifeirwch.** Y rheswm paham nas gellir eu hadfer i gyflwr o adenedigaeth ydyw nas gellir eu hadnewyddu i edifeirwch, yr hwn yw amod adenedigaeth. Y mae yr anmhosibilrwydd ynddynt eu hunain yn gystal ag o ddigofaint Duw. Ni chânt fyned i mewn am na allant.

**Gan eu bod yn ail groeshoelio, &c.** Y mae y geiriau "ac a syrthiasant ymaith" yn golygu yn y gwreiddiol un weithred orphenol; ond y mae yr awdwr yn y geiriau dilynol yn newid yr amser, a golyga y geiriau "ail groeshoelio" a "gosod yn watwar" weithred sydd yn parhau. Y mae y cyfnewidiad yn awgrymu cyfnewidiad yn y cyfieithiad, yr hwn sydd ynddo ei hun yr un mor gyfreithlawn, sef, "tra y parhaont i ail groeshoelio a thra y parhaont i watwar." Yr wrthddadl a ddygir gan Dr. Thomas yn erbyn y cyfieithiad hwn ydyw fod *pob* pechod, tra y parheir ynddo, yn gwneyd cadwedigaeth y pechadur yn anmhosibl. Ond a ydyw hyn felly? Ai nid dyledswydd pechadur ydyw dyfod at Grist fel y mae, yn ei bechodau, a hyny fel yr unig foddion effeithiol iddo gael ei wared odditan eu harglwyddiaeth? Ond am y pechod neillduol o barhau i ail groeshoelio a gwatwar Mab Duw, y mae hwn yn gwneyd edifeirwch yn anmhosibl, yr hyn na wna unrhyw bechod arall. Yr un pryd tueddir fi i lynu wrth yr hen gyfieithiad ("gan eu bod yn parhau" yn lle "tra y parhaont"), am y rheswm y buasai yr awdwr, yn ol bob tebyg, yn dyweyd "os ail groeshoeliant," &c. Eto, y mae y cyfnewidiad yn yr amser yn bwysig ac yn arwain at wir ystyr yr adnodau. Yn ol yr hen gyfieithiad y mae y geiriau "gan eu bod yn parhau i ail groeshoelio," &c., yn esboniad ar y geiriau "ac a syrthiasant ymaith." Er mai un weithred ydyw syrthio ymaith, eto cynwysa eu bod yn dal yn benderfynol a didor i ail groeshoelio a gwatwar Crist, a dywed yr awdwr hyn er mwyn dangos paham y mae yn anmhosibl eu hadnewyddu. Gan hyny, golyga yr ymadrodd "syrthio

watwar. Canys y ddaear, yr hon sydd yn yfed y gwlaw sydd 7
yn mynych-ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai

---

ymaith" lawer mwy yn yr adn. hon nag a olygid wrtho yn y brif eglwys, pan y cynwysai y gair ddau ddosbarth gwahanol o ddynion; y naill oedd y gwrthodwyr *(apostatai)*, a'r llall oedd y rhai a gwympent *(lapsi)*. Y dosbarth blaenaf oedd y rhai a wrthgilient ohonynt eu hunain; yr olaf oedd y rhai a wrthgilient gan ofn merthyrdod. Ni fynai Novatian adferu y naill na'r llall: adferai yr Eglwys yr olaf, ond nid y blaenaf. Ond yn yr adn. hon cynwysa yr ymadrodd "syrthio ymaith" fwy na'r naill na'r llall, sef ysbryd gwawdlyd. Pe na buasai syrthio ymaith yn cynwys hyn, ni buasai eu cyflwr yn anobeithiol; ac os ceir esamplau o ddynion yn syrthio ymaith, heb ddal yn benderfynol i watwar Crist, nid yw eu hadferiad yn anmhosibl.

**Ail groeshoelio.** Ystyr y gair gwreiddiol yn y llyfrau clasurol ydyw "croeshoelio." Ni cheir y gair yn y llyfrau Hellenistaidd (hyny ydyw, y llyfrau a ysgrifenwyd yn yr iaith Roeg gan Iuddewon) ond yn y lle hwn. Ar y cyfan, gwell ydyw golygu mai ei ystyr yma ydyw "*ail* groeshoelio," mewn cyferbyniad i'r gair "*ad*-newyddu," ac mewn cyssylltiad â'r geiriau "iddynt eu hunain."

**Iddynt eu hunain.** Tybia rhai mai yr ystyr ydyw "i'w dinystr eu hunain;" ond prin iawn y mae y cyfieithiad hwn yn oddefol. Tybia Bengel fod y geiriau yn golygu eu bod yn ail groeshoelio Crist eu hunain, fel y maent yn ei osod i eraill i'w watwar. Ond y mae y gair "croeshoelio" yn tybied cyhoeddusrwydd, ac felly nid oes dim ystyr i'r cyferbyniad a ddychymyga Bengel. Tybia eraill mai yr ystyr ydyw eu bod yn ail groeshoelio Crist *can belled ac y mae a fynont hwy âg ef*, ac felly eu bod yn ei *lwyr* wrthod. O'r braidd, mi dybiaf, y goddef y gwreiddiol yr ystyr hwn o *lwyr* wrthod. Gwell genyf yr esboniad eu bod yn ail groeshoelio Crist mor bell ag y mae a fynont hwy âg ef, mewn cyferbyniad i'r croeshoelio ar Galfaria, yr hwn oedd yn dal perthynas â chadwedigaeth dynolryw ac â chyflwr dynion yn llywodraeth foesol Duw. Ond nid yw yr ail groeshoeliad yn cyrhaedd ymhellach na'r gwatwarwyr eu hunain.

**Fab Duw.** Rhoddir yr enw hwn ar Grist yma i ddangos dau beth, (1) y rheswm paham y mae Duw yn digio cymaint; (2) y rheswm paham y mae y dynion eu hunain yn analluog i edifarhau. Gwyddent mai Mab Duw ydoedd, ac eto croeshoeliasant ef. Croeshoeliasai eu tadau ef heb wybod pwy ydoedd (Luc xxiii. 34), ac am hyny gweddiai yr Iesu ar ei Dad faddeu iddynt.

**Gosod yn watwar.** Ychwanega yr awdwr hyn i ddangos eu hamcan a'u hysbryd pan yn ail groeshoelio Crist. Gwel 1 Cor. iv. 9.

Wedi ceisio egluro y geiriau ar eu penau eu hunain, deuaf, yn y lle nesaf, at amcan cyffredinol yr adnodau. Dywed yr awdwr ei bod yn anmhosibl adnewyddu dynion hyn i edifeirwch. *Yn gyntaf*, ni ddylid gwanhau ystyr y gair "anmhosibl," fel pe gallai olygu "anhawdd." Y mae yr ymadroddion cyffelyb yn x. 26 yn profi hyn. *Yn ail*, nis gallaf dderbyn yr esboniad mai tybiaeth o amgylchiad nad yw byth yn digwydd sydd yn yr adnodau hyn. Nid y rheswm paham nas gallaf fabwysiadu y syniad hwn ydyw y byddai y fath dybiaeth yn gwneyd y rhybudd hwn yn afreidiol. Gallaf ddeall yn hawdd fod Duw yn rhybuddio ei bobl rhag perygl, ac ar yr un pryd yn bwriadu eu cadw rhagddo, ond yn defnyddio eu hofnau hwy o'r perygl yn foddion i gyflawni ei fwriad grasol. Ond y mae ffurf yr holl frawddeg yn wahanol i'r hyn a ddisgwyliwn, pe tybiaeth o beth nas gall ddygwydd a gynwysai. Heblaw hyny, y mae desgrifiad yr awdwr o natur

y llafurir hi ganddynt, sydd yn derbyn bendith gan Dduw:
8 Eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mïeri, *sydd* anghymmeradwy,

---

y pechod yn peri ei bod yn anhawdd iawn gwrthod y syniad mai y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân sydd yn ei feddwl, ac nid tybiaeth na ddigwydd byth ydyw hwnw. *Yn drydydd*, nis gallaf ymryddhau oddiwrth y meddwl nad oedd y pwnc athrawiaethol o barhad mewn gras neu gwymp oddiwrth ras o flaen llygad awdwr yr Epistol hwn. Nid ymddengys i mi ei bod yn angenrheidiol i ni ystyried fod holl athrawiaethau yr efengyl yr un mor eglur i bob un o ysgrifenwyr y Testament Newydd, mwy nag y mae yn ofynol i ni gredu fod pob un o ysgrifenwyr yr Hen Destament yn eu sylweddoli. Yr ydym ni yn Nghymru wedi arfer deffinio cymaint, a gosod pob athrawiaeth yn ei lle yn ein cyfundrefn, a phenderfynu gwirionedd pob syniad yn ol ei gysondeb â Chalfiniaeth neu Arminiaeth, fel y mae yn gofyn ymdrech meddyliol i ddychymygu ein hunain yn astudio awdwr duwinyddol nad yw yn gwybod nac yn meddwl dim o gwbl am na Chalfiniaeth nac Arminiaeth, ac eto, i'r dosbarth hwn o ysgrifenwyr y perthyn awdwr yr Epistol at yr Hebreaid. *Yn bedwerydd*, gan adael o'r neilldu yr ymholiad pa un ai gwir gredinwyr, ai eraill, a feddylir, y mae yr holl ddesgrifiad yn crynhoi o amgylch y syniad o oleuo y meddwl am bethau ysbrydol, a'r goleuni hwn ei hun yn cael ei ddefnyddio i watwar Crist. Ni chrybwylla yr awdwr o gwbl am gariad at Dduw. I'r gwrthwyneb, dwg y syniad hwn i mewn wedi hyn pan yn datgan ei grediniaeth nad oedd y desgrifiad a roddasai yn wir am yr Hebreaid. Yr oeddynt hwy wedi dangos llafur *cariad*, ac, am hyny, nid oeddynt wedi syrthio ymaith eto, adn. 10. Ond pan y mae dynion wedi derbyn trwy yr efengyl oleuni ysbrydol, wedi archwaethu y rhodd nefol, wedi cyfranogi o'r dylanwadau dwyfol ar eu hysbryd, wedi cael blas ar Air Duw, ac wedi eu dwyn dan weithrediadau goruwchnaturiol y cyfnod Cristionogol, ac yn troi yr holl oleuni a'r rhoddion goruchel hyn i watwar Mab Duw, y mae efe yn pechu yn erbyn awdwr y goleuni hwnw, sef yr Ysbryd Glân, ac y mae ei gyflwr ei hun, a barn Duw arno, yn peri ei bod yn anmhosibl ei adnewyddu i edifeirwch. Darllener Esaiah, pen. v.

**ADN. 7, 8.** Eglura yr awdwr ei feddwl trwy gyffelybiaeth am dir wedi ei arloesi yn dda ac yn dwyn llysiau cymwys neu ynte ddrain a mieri. Darllener Matt. xiii. 1—23.

**Canys y ddaear yr hon sydd yn yfed y gwlaw**; yn hytrach, "Canys tir yr hwn a yfodd y gwlaw." Golyga y gair "yfed" gyflawnder, nes mwydo y tir. Y mae hyn yn y gyffelybiaeth yn cyfateb i'r goleuo unwaith, profi y rhodd nefol, cyfranogi o'r Ysbryd Glân, profi gair Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, yn y cymhwysiad. Disgyn y gwlaw ar yr *holl* dir, a gwna ef *oll* yn fras.

**Ac yn dwyn llysiau cymhwys i'r rhai y llafurir hi ganddynt**; neu, yn hytrach, "er mwyn y rhai hefyd y llafurir hi." Ar gyfer hyn y mae y dybiaeth am dir yn bwrw allan (canys dyna ystyr y gair) ddrain ac ysgall. Ni sonir yn y cymhwysiad o'r gyffelybiaeth am yr hyn sydd yn cyfateb i ddwyn llysiau cymhwys. Cyfynga yr awdwr ei sylw at yr ochr arall. Yr hyn sydd yn cyfateb i fwrw allan ddrain ac ysgall (gyda chyfeiriad at Gen. iii. 18, ond gyda hyn o wahaniaeth, mai yno am y gosb y crybwyllir, ond yma at yr hyn sydd yn haeddu cosb), ydyw "syrthio ymaith," fel y mae hyny yn cynwys gwatwar Mab Duw.

**Yn derbyn bendith**; ac, ar gyfer hyny, "anghymeradwy ac agos i felldith." Ni chrybwyllir yr hyn sydd yn cyfateb i'r cyntaf. Cyfeiria yr awdwr at Gen. i. 12; Salm lxv. 10. Ond yr hyn sydd yn cyfateb i'r olaf

ac agos i felldith; diwedd yr hon *yw*, ei llosgi. Eithr yr ydym 9
ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a *phethau*

---

ydyw anmhosibilrwydd adnewyddiad. Eto, dichon nad ydyw sylw Chrysostom yn ddisail, fod yr awdwr yn dyweyd "agos" i awgrymu fod yn bosibl osgoi y felldith trwy edifeirwch. O'r hyn lleiaf, y mae yn deilwng o sylw fod yr awdwr yn newid y gair yn yr adn. nesaf; "yn nglŷn wrth," nid "yn agos i."

Y mae y gyffelybiaeth hon yn ateb tri o ddybenion: Yn gyntaf, dengys y *ddwy* ochr, y fendith ar ffyddlondeb, a'r felldith am gynyrchu chwyn yn lle ffrwyth. Yn ail, dengys fel y mae yr un tir, a'r un brasder, yn cynyrchu chwyn neu ffrwyth. Y dynion sydd wedi derbyn fwyaf o oleuni a dylanwadau ysbrydol ydyw y mwyaf anobeithiol, os syrthiant ymaith. Y mae y doniau hyny ddylai fod yn feithriniad i dduwioldeb yn cael eu troi i gynyrchu ysbryd gwatwar. Yn drydydd, dengys weithrediad Duw yn y peth. Yr achos fod y tir sydd yn ffrwytho yn ffrwytho mwy ydyw bendith Duw; a'r achos fod tir sydd yn dwyn drain a mieri yn cael ei losgi ydyw melldith Duw. Felly gyda golwg ar ddynion. Nid ynddynt hwy yn unig y mae yr achos o'u llwyddiant neu o'u dinystr, ond yn mendith neu yn marn Duw arnynt.

**Y llafurir hi ganddynt**; yn hytrach, "y llafurir hi, ïe, erddynt." Golyga y gair mai er mwyn dynion yn unig y llafurir y tir. Felly, yn y cymhwysiad, er mwyn gogoniant Duw y rhoddir y fath fendithion ysbrydol i ddynion.

**Anghymmeradwy.** Ystyr cyntaf y gair ydyw "annerbyniol." Nid yw tarddiad y gair gwreiddiol yn cyfeirio o gwbl at brawf, fel pe yr ystyr fyddai "anghymmeradwy yn y prawf."

**Yr hon.** Y mae yn amheus pa un ai y tir ai y felldith a feddylir. Tueddir fi i dybied mai y felldith; yn gyntaf, am mai hwn yw y gair agosaf; ac, yn ail, am mai y cyfieithiad llythyrenol ydyw, "hyd at losgiad," hyny yw, melldith hyd yr eithaf, hyd at hollol ddinystriad. Gwel x. 27.

**Ei llosgi.** Nid "ei goddeithio" a ddywedir, neu losgi y chwyn ar y wyneb. Cyfeiria yr awdwr yn hytrach at ddinasoedd y gwastadedd. Gwel Gen. xix. 24; Deut. xxix. 23.

2. *Methiant yn Anmhosibl.*

vi. 9—20.

**ADN. 9.—Coelio.** Y mae y gair yn rhy wan. Yr ystyr ydyw, "yr ydym yn argyhoeddedig."

**Bethau gwell**; yn hytrach, "y pethau gwell," sef fod y desgrifiad o'r tir sydd yn dwyn llysiau cymhwys yn wir am danynt, ac nid y desgrifiad o'r tir sydd yn dwyn drain ac ysgall. Golyga y gair "gwell," nid "mwy ffortunus," ond "mwy daionus," mewn ystyr foesol. Yn hyn yr oedd gobeithion yr awdwr yn ymaflyd. Credai eu bod yn dwyn ffrwyth mewn gweithgarwch crefyddol, ac am hyny fod ynddynt rywbeth sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth. Awgryma yr ymadrodd "pethau gwell" fod pethau gwaeth, a bod y rhai hyny mor arswydlawn fel na fyn yr awdwr gredu fod yr Hebreaid dan eu dylanwad.

**A phethau ynglyn wrth iachawdwriaeth**; yn hytrach, "y pethau gwell y rhai sydd hefyd (hyny yw, heblaw eu bod yn well ynddynt eu hunain mewn ystyr foesol) ynglŷn wrth iachawdwriaeth." Am ei fod yn credu eu bod yn debyg i'r tir a ddwg lysiau cymhwys, credai hefyd eu bod, mewn canlyniad, yn agoshau, nid at felldith, ond at iachawdwriaeth.

y'nglŷn wrth iachawdwriaeth, er ein bod yn dywedyd fel hyn.
10 Canys nid *yw* Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith,
a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tu ag at ei enw ef, y

---

Golyga y gair "iachawdwriaeth" yn yr Epistol hwn, nid cyflwr presenol y credinwyr, ond y gorpheniad buddugoliaethus, y mynediad i'r orphwysfa, cadwedigaeth derfynol yr enaid. Gwel v. 9; ix. 28.

**Er ein bod yn dywedyd fel hyn**; hyny yw, er fod yr awdwr wedi dywedyd fod yn rhaid iddynt wrth laeth megis pe byddent wedi syrthio i'w hail blentyndod, ac er iddo ddarlunio y sefyllfa anobeithiol y mae y fath gyflwr yn dueddol i arwain iddo. Gobeithiai eu bod, yn hytrach, yn meddu y pethau gwell sydd yn arwain i iachawdwriaeth.

**ADN. 10.—Anghyfiawn.** Y mae duwinyddion Eglwys Rhufain yn tynu y casgliad oddiwrth y gair hwn y gall dyn adgenedledig wneyd gweithredoedd sydd yn *haeddu gwobr*. Galwant yr haeddiant hwn wrth yr enw *meritum condigni*, hyny yw, haeddiant yn codi o gyd-deilyngdod y dyn adgenedledig a gras Duw. Y mae Ebrard yn gwrthddadleu yn erbyn yr athrawiaeth hon trwy esbonio mai ystyr yr awdwr ydyw y byddai i Dduw anghofio gwaith ei bobl yn anghyfiawn *tuag at Grist*. Ond nis gellir derbyn yr esboniad hwn. Pe hyn fuasai yr ystyr, dywedasai yr awdwr hyny yn eglur. Heblaw hyny, y mae y Testament Newydd drwyddo yn dysgu fod cyfiawnder Duw yn ei rwymo i wobrwyo ei bobl. Yr ateb i'r Pabyddion ydyw mai trefn rasol Duw sydd wedi gosod y cyfiawnder hwnw i fyny, ac mai gras Duw sydd yn wreiddyn pob gallu mewn dynion i wneyd dim sydd yn derbyn gwobr. Felly, esboniad ar y gair "cyfiawnder" Duw yn hyn ydyw y gair "ffyddlondeb," yn 1 Ioan i. 9. Gan hyny, anghysondeb yn y duwinyddion Pabaidd ydyw priodoli "haeddiant" i'r hyn sydd, yn ol eu haddefiad eu hunain, yn ras Duw mewn dyn.

**Llafurus gariad.** Y darlleniad cywir ydyw "eich cariad." Llithrodd y gair "llafur" i mewn trwy ddiofalwch copïwr un o'r llawysgrifau, sef D, oddiwrth 1 Thess. i. 3.

**Tuag at ei enw ef.** Yr oedd eu caredigrwydd i'r saint yn weithred tuag at Dduw hefyd.

**A weiniasoch.** Gwel x. 32—34. Oblegid tlodi yr eglwys yn Jerusalem barna llawer o'r esbonwyr fod yr adn. hon yn ddigon i brofi mai nid at yr eglwys hono yr ysgrifenwyd yr Epistol hwn. Yr oedd Paul wedi bod yn casglu i'r saint yn Jerusalem yn eglwysi Galatia, Macedonia, ac Achaia (gwel 1 Cor. xvi. 1; Rhuf. xv. 26). Rhaid cydnabod fod llawer o rym yn y ddadl hon; a dyddorol iawn ydyw yr awgrym sydd, yn ol y golygiad hwn, yn yr adn. fod Hebreaid yn *parhau* i gynorthwyo y saint tlodion yn Jerusalem. Nid oes lle i feddwl fod yr eglwysi cenhedlig wedi gwneyd mwy nag un casgliad iddynt. Ar y llaw arall, dylid cofio nad oes genym unrhyw gyfeiriad o gwbl, os nad yn y lle hwn, fod eglwys o Hebreaid wedi anfon cynorthwy i'r eglwys yn Jerusalem. Heblaw hyny, nid yw y gair "gweini" yn golygu o angenrheidrwydd gynorthwy arianol. Gwel Matt. xxv. 44. Pe gellid bod yn sicr fod yr enw "y saint" yn cael ei ddefnyddio yn y Testament Newydd am yr eglwys yn Jerusalem yn arbenig, fe fyddai mwy o rym yn y ddadl i brofi mai nid at yr eglwys hono yr ysgrifenwyd yr Epistol. Ond gan fod hyny yn ansicr, gallwn esbonio yr adn. hon fel canmoliaeth i'r aelodau yn eglwys Jerusalem am gynorthwyo eu gilydd. Y mae yr ymadrodd yn y gwreiddiol yn Rhuf. xv. 26 yn awgrymu fod rhai yn eglwys Jerusalem heb fod yn dlawd: "Y rhai hyny sydd yn dlodion o'r saint yn Jerusalem." Cyfeiria

rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini. Ac yr ydym yn 11
chwennych fod i bob un o honoch ddangos yr un diwydrwydd,
er mwyn llawn-sicrwydd gobaith hyd y diwedd: Fel na 12
byddoch fusgrell, eithr yn ddilynwyr i'r rhai trwy ffydd ac

---

y gair "gweiniasoch" at un cynorthwy arbenig. Y mae hyn yn ffafr y golygiad a grybwyllir uchod.

**ADN. 11.—Pob un**; oblegid ni fyn awgrymu nad oedd rhai eisoes yn gwneyd.

**Yr un diwydrwydd**; neu "zêl," "dyfalwch;" yr un dyfalwch, hyny ydyw, i gyrhaedd llawn sicrwydd gobaith ag a ddangosent i weini i'r saint. Y mae yn eglur fod y cyfieithwyr Cymraeg yn deall yr ystyr yn wahanol: "yr un diwydrwydd mewn gweini eto ag a ddangosasent o'r blaen, yr hyn os gwnant a ddwg iddynt lawn sicrwydd gobaith." Hwn oedd yr hen esboniad, a dadleua Dr. Thomas eto yn gryf drosto. Ond y mae yr adn. nesaf yn cyfeirio, nid at garedigrwydd brawdol yn unig, ond at efelychu, mewn ffydd ac amynedd, etifeddion yr addewid. Yr unig ddadl o blaid yr hen esboniad sydd yn siglo fy meddwl ydyw y drydedd a grybwylla Dr. Thomas, fod y gair "dangos" yn fwy cyfaddas i'w gyssylltu â diwydrwydd mewn llafur gweledig nag â diwydrwydd mewn ymdrech mwy personol a dirgel. Ond yr ateb ydyw fod yr awdwr yn awyddus iddynt gymhell eu gilydd trwy *ddangos* diwydrwydd. Calvin bia yr esboniad arall. Mabwysiadwyd ef gan Bengel a'r nifer luosocaf o esbonwyr ar ei ol ef. Nid amcan cyffredinol yr awdwr ydyw cymhell i garedigrwydd brawdol, ond i ymlyniad yn Nghrist. Anoga hwynt i fod mor ddyfal i gyrhaedd llawn sicrwydd i'w hysbryd eu hunain ag yr oeddynt i gyflenwi angenion corphorol eu brodyr.

**Llawn sicrwydd gobaith.** Gellir deall yr ymadrodd yn gyfystyr â "llawnder o obaith." Ond amcan yr awdwr ydyw cryfhau eu hargyhoeddiad o wirioneddau yr efengyl. Felly, gwell ydyw yr esboniad arall: "llawn sicrwydd yn eich meddyliau am yr efengyl, a'r sicrwydd hwnw yn codi o obaith." Perygl yr Hebreaid oedd digalondid ac anobaith.

**Hyd y diwedd.** Yr ystyr ydyw, fel y gwelir oddiwrth iii. 14, "hyd at berffaith hyder." Ond gelwir y cyrhaeddiad hwn o berffeithrwydd eu hyder yn "ddiwedd," am mai dyfodiad yr Arglwydd, a diwedd yr oruchwyliaeth bresenol, fydd yn perffeithio hyder.

**ADN. 12.—Musgrell.** Gwel nodiad ar v. 11. Yr ystyr yw, "fel na byddoch hwyrdrwm mwy, fel y buoch hyd yn hyn." Ond defnyddir ymadrodd pur dyner, "fel nad eloch."

**Yn ddilynwyr**, yn yr ystyr a drosglwyddir yn ein dyddiau ni yn y gair "efelychwyr," neu, yn iaith y Deheudir, yn y gair "dynwaredwyr." Y mae y gair "efelychu" yn hen air yn Gymraeg, a dylid ei fabwysiadu yma.

**Ffydd.** Gan mai hwn yw y lle cyntaf y ceir y gair "ffydd" ynddo yn yr Epistol, da fydd i ni gofio nad yr un ystyr yn hollol sydd i'r gair yn yr Epistol hwn âg yn ysgrifeniadau yr Apostol Paul. Nid ei ystyr yn yr Epistol hwn ydyw ymddiried yr enaid ar Grist mewn cyferbyniad i weithredoedd. Yn hytrach golyga y gwroldeb sydd yn cyflawni y gweithredoedd mwyaf nerthol. Y mae y ddau ystyr yn hollol gyson â'u gilydd; ie, y mae y naill beth yn cynyrchu y llall; ac y mae *athrawiaeth* Paul yn yr Epistol, er nad geiriau Paul. Eto y maent yn gosod allan ddwy ochr wahanol i'r un gras. Sylwer, yn mhellach, nad yw yr awdwr hyd yn hyn wedi dwyn i'r golwg ystyr ddyfnaf y gair ffydd. Daw hyny mewn rhanau dilynol o'r Epistol, lle y dengys mai ffydd yw y gallu i sylwe ddoli yr

13 amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion. Canys Duw, wrth
wneuthur addewid i Abraham, oblegid na allai dyngu i neb

---

ysbrydol, "i weled yr anweledig." Hyd yma yr un peth ydyw ffydd a hyder. Effaith y ffydd hon ydyw "amynedd;" a golyga y gair hwn drachefn, yn yr adn. hon, ddisgwyliad am y dyfodol, nid yn gymaint diysgogrwydd i ddal o dan bwysau anhawsderau a phrofedigaeth. Gwel x. 36—38, lle y defnyddir gair arall. Golyga y gair sydd yn yr adn. hon dawelwch hir-ymarhous i ddisgwyl; golyga y gair sydd yn x. 36 benderfyniad i ymgynhal yn ddewr o dan bwysau anhawsderau a phrofedigaeth. Ond ffydd ydyw y gair sydd yn gosod allan y gallu i sylweddoli yr ysbrydol yn y rhanau dilynol o'r Epistol; a'r gallu hwn yw gwreiddyn hyder ac amynedd, y naill fel y llall.

**Etifeddu**. Esbonia Alford ac eraill y gair yn yr ystyr o etifeddion, heb olwg ar amser. Ond ni byddai hyny yn dwyn i sylw yr anogaeth gref sydd yn y gair i amynedd. Gwell, gan hyny, ydyw y golygiad fod y gair yn yr amseriad presenol i ddesgrifio y saint yn dyfod i'r etifeddiaeth *y naill ar ol y llall*, a phob un ar hyd yr un llwybr o ffydd ac amynedd. Y mae yn eglur fod yr awdwr ar drothwy y darluniad gogoneddus a rydd yn yr unfed benod ar ddeg o wroniaid ffydd. Ond gwell ganddo ar hyn o bryd ymatal; efallai am nas gall, can belled ag y mae yr ymresymiad wedi ei arwain eto, ddesgrifio ffydd fel sylweddoliad o'r anweledig. Hyd yma yr un peth ydyw ffydd a hyder. Wedi iddo egluro natur y cyfamod newydd a mynediad Crist i'r gwir gysegr, cawn weled fod ei ddarnodiad o ffydd wedi dyfnhau yn ddirfawr. Heblaw hyny, y mae yr awdwr yn awyddus i son am y llw a wnaeth Duw i Abraham, a hyny, nid yn unig i gysuro yr Hebreaid, ond hefyd i barotoi eu meddyliau i ddeall a gwerthfawrogi y gwahaniaeth a eglurir ganddo ar ol hyn rhwng yr offeiriaid a wnaethpwyd heb lw a'r offeiriad a wnaethpwyd trwy lw.

**Etifeddu**; hyny yw, derbyn cyflawniad o'r addewidion, fel yn xi. 39. Er fod yr awdwr yn dyweyd yn yr adn. hono na dderbyniasant hwy yr addewid, y mae y ddwy adn. yn hollol gyson â'u gilydd. Ni dderbyniasant gyflawniad o'r addewid ar y ddaear; ond y maent yn derbyn y cyflawniad yn y nefoedd. Gwel nodiad ar xi. 39.

**ADN. 13—Canys.** Defnyddir y gair yn fynych, nid i *brofi* pwnc, ond i ddwyn i mewn esampl o'r peth. Ond y mae esampl Abraham yn brawf hefyd. Ni wnai esampl neb arall y tro ond esampl Abraham yn y lle hwn. Oblegid i Abraham y rhoddwyd yr addewid y geilw yr awdwr yr Hebreaid i'w hetifeddu. Hwynt-hwy yw etifeddion Abraham, os dangosant ddiwydrwydd i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'u blaen, ac yn yr un efengyl y mae Abraham ei hun yn derbyn cyflawniad o'r addewid. Iddynt hwy y mae yr addewid; ond, os syrthiant ymaith oddiwrth eu hyder, fe ddichon Duw o'r meini gyfodi plant i Abraham.

**Wrth wneyd addewid.** Gwell fuasai cyfieithiad mwy llythyrenol, "wrth addaw;" oblegid yr addewid am Grist a feddylir. Gwel Gal. iii. 16. Pe na buasem yn gwybod oddiwrth fanau eraill fod Abraham wedi deall fod yr addewid yn cyfeirio at Grist, gallasem dderbyn golygiad Davidson nad yw yr awdwr yn meddwl am unrhyw gyfeiriad o'r fath yn yr adn. hon. Ond yr oedd yr addewid i liosogi ei had yn Isaac yn cynwys llawer mwy nag a gynwysai yr addewid i liosogi ei had yn Ismael, ac am hyny rhoddodd Duw yr addewid yn Isaac trwy lw.

**I neb . . . . iddo ei hun.** Nid wyf yn sicr a yw y geiriau hyn yn hollol ddiamwys yn Gymraeg. Nid yr ystyr ydyw, "tyngu er mwyn cadarnhau yr addewid i ryw un." Yr ystyr ydyw, "tyngu *yn*

*oedd* fwy, a dyngodd iddo ei hun, Gan ddywedyd, Yn ddïau 14
gan fendithio y'th fendithiaf, a chan amlhâu y'th amlhâf. Ac 15
felly, wedi iddo hir-ymaros, efe a gafodd yr addewid. Canys 16
dynion yn wir sydd yn tyngu i un a fo mwy: a llw er sicrwydd,
*sydd* derfyn iddynt ar bob ymryson. Yn yr hyn Duw, yn 17
ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid

---

*enw* rhyw un." Y mae hyn wedi ei fenthyca gan yr awdwr o Philo, yr hwn a ddywed: "Ti a weli nad yw Duw yn tyngu yn enw un arall; canys nid oes dim yn well nag ef; ond yn ei enw ei hun, yr hwn yw y goreu o bawb."

**ADN. 14.—Yn ddiau.** Yn y geiriau hyn y mae y llw, ond gyda chyfeiriad at yr hyn a ddywedir yn Gen. xxii. 16, fod yr Arglwydd wedi tyngu.

**ADN. 15.—Wedi iddo hir-ymaros.** Y mae y cyfeiriad, nid yn unig at hanes ei fywyd ar y ddaear, ond hefyd at ei ddisgwyliad ffyddiog ac amyneddgar yn y nefoedd, hyd nes y gwelodd efe ddydd Crist ac y llawenychodd. Gwel Ioan viii. 56. Dengys yr awdwr yn xi. 40 fod y ffyddloniaid eraill hefyd, hyd yn nod yn y nefoedd, heb dderbyn cyflawniad yr addewid, fel na pherffeithiwyd hwy hebom ninau.

**Efe a gafodd yr addewid.** Pa bryd? Yn ngenedigaeth Isaac, medd y rhan fwyaf o esbonwyr. Ond ar ol genedigaeth Isaac y tyngodd yr Arglwydd i Abraham (Gen. xxii. 16). Heblaw hyny, cynwys yr addewid i Abraham oedd yr had, sef Crist. Onid ydyw yn eglur mai yn nyfodiad Crist i'r byd ac yn sefydliad yr eglwys ysbrydol gan Grist y derbyniodd Abraham gyflawniad llwyr o'r addewid? Felly hefyd y dywedir yn xi. 10 i Abraham geisio *y* ddinas y mae iddi *y* sylfaeni. Darluniad cyson y Testament Newydd o ffydd Abraham ydyw ei fod ef yn disgwyl bendith ysbrydol, nid bendith dymhorol yn unig.

**ADN. 16.—Wrth un a fo mwy**; yn hytrach, "yn enw yr un mwy," hyny yw, mwy na phawb, sef Duw.

**A llw er sicrwydd, sydd derfyn iddynt ar bob ymryson**; yn hytrach, "ac ar bob gwrthddywediad y mae y llw yn derfyn hyd at sicrhad." Hyny yw, ni feddant ddim mwy i sicrhau gwirionedd unrhyw ddatganiad neu gadernid unrhyw ymrwymiad. Nid yw y llw yn sicrhau y peth. Ond am nas gallant wneyd dim yn mhellach, derbyniant ef yn derfyn ar bob cweryl neu wrthddywediad, a chymmerant y llw yn sicrhad.

**ADN. 17.—Yn yr hyn.** Y mae hwn yn gyfieithiad llythyrenol; ond y mae yn anhawdd gweled unrhyw ystyr i'r geiriau Cymraeg fel y maent. Dichon mai meddwl yr awdwr oedd, "yn wyneb yr hyn," sef oherwydd fod y llw yn rhoi taw ar bob gwrthddyweyd ymhlith dynion.

**Yn ewyllysio**; nid yn unig yn foddlon, os bydd dynion yn gofyn, ond yn ewyllysio pan y mae eu ffydd hwy yn rhy wan i ofyn.

**Yn helaethach ddangos**; hyny yw, yn helaethach nag y mae yr addewid heb y llw yn ddangos amddianwadalwch y cynghor sydd yn gorwedd o'r golwg yn Nuw, ac sydd yn ffynhonell yr addewid. Y mae y gair cynghor yn *tybied* athrawiaeth y Drindod. Felly hefyd y mae y llw. Tybied, nid datgan.

**A gyfryngodd.** Y mae llw ymhlith dynion yn tybied dau berson, un i gymmeryd y llw, ac un arall, sef Duw, yn enw yr hwn y twng y llall. Pan bydd y llw yn cadarnhau ymrwymiad neu addewid, rhaid cael tri, sef y neb y gwneir yr ymrwymiad iddo yn ychwanegol at y ddau arall. Felly gellir ystyried fod Duw, pan yn cymmeryd ei lw yn ei enw ei hun wrth addaw i Abraham, yn gosod ei hun yn y canol rhyngddo ef ei hun ac Abraham.

18 ddïanwadalwch ei gynghor, a gyfryngodd trwy lw: Fel trwy
ddau beth dïanwadal, yn y rhai *yr oedd* yn ammhosibl i Dduw
fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom
19 i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen: Yr hwn

---

Dengys hyn i ni beth sydd yn ychwaneg yn y llw nag oedd yn yr addewid. Pan yn addaw, gesyd Duw ei hun megis rhwng Abraham fel derbynydd yr addewid ac Abraham yn cyflawni amodau yr addewid. Ac felly y gwnaeth Duw âg Abraham ar y cyntaf. Addawodd y fendith iddo ar yr amod ei fod ef yn ufuddhau, a hyny hyd eithaf y prawf mwyaf chwerw. Ufuddhaodd Abraham yn hollol, a daeth trwy y prawf yn fuddugoliaethus, pan yr esgynodd i ben Moriah i offrymu ei unig fab Isaac, mab yr addewid. Am ei ufudd-dod gwobrwyodd Duw ef trwy gymmeryd llw. Symudodd yr amod oddiar Abraham, a chymmerodd yr holl gyfrifoldeb arno ei hun. Yn lle cyfryngu rhwng Abraham yn derbyn ac Abraham yn ufuddhau, safodd Duw rhwng Abraham fel derbynydd a Duw ei hun yn ei eirwiredd a'i ffyddlondeb iddo ei hun. Wrth gymmeryd llw y mae dynion yn galw ar Dduw i'w lladd os nad ydynt yn eirwir. Wrth gymmeryd llw y mae Duw yn gwystlo ei fywyd ei hun ar ei eirwiredd.

**ADN 18.—Dau beth dianwadal.** Dengys y gair "dianwadalwch" yn adn. 17 mai cynghor Duw ydyw un o'r ddau beth dianwadal. Y mae yn eglur hefyd mai llw Duw, yr hwn sydd yn cadarnhau ei addewid, yw y llall. Nid yr addewid, gan hyny, a feddylir. Gallai yr addewid fod yn amodol, a byddai y cyflawniad, oherwydd hyny, yn ansicr. Ond nid felly *cynghor* Duw, yr hwn sydd yn sicr o gael ei gyflawni. Nid yw y llw yn ychwanegu dim at ddianwadalwch y cynghor, ond rhydd sicrwydd i ddynion mai cynghor neu benderfyniad Duw ydyw.

**Anmhosibl.** Dygir y gair hwn i mewn i ddangos y cyferbyniad rhwng anmhosibilrwydd adferiad y rhai a syrthiasant ymaith a'r anmhosibilrwydd i'r rhai na syrthiant ymaith fethu derbyn cyflawniad yr addewid a myned i'r etifeddiaeth. Yr ystyr ydyw nad oes dim yn anmhosibl i Dduw ond yn unig bod yn gelwyddog.

**Cysur**; yn hytrach, "cymhelliad," "anogaeth." Gelwir ef yn "gryf" am ei fod yn cryfhau dynion i gymmeryd gafael ddiysgog yn y gobaith.

**A ffoisom**; fel Lot o Sodom. Y mae meddwl yr awdwr yn symud oddiwrth hanes Abraham. Yn nghanol y tebygolrwydd rhwng ffydd Abraham a ffydd y ffyddloniaid Cristionogol, yr oedd llawer hefyd o wahaniaeth. Nid oes dim yn nghrefydd Abraham y gellir ei gymharu i ffoi rhag y llid a fydd. Ei hiraeth ef oedd cael ei gasglu at ei dadau yn y ddinas y mae iddi y sylfeini. Dichon, gan hyny, fod yr awdwr, er mwyn gwneyd y gymhariaeth yn fwy tarawiadol, yn meddwl am ffoedigaeth Lot, ac efallai, yn y gair "cymmeryd gafael," yn cyfeirio hefyd at y troseddwr yn ffoi at yr allor.

**A osodwyd o'n blaen.** Nis gellir ystyried fod yr awdwr yn defnyddio y gair "gobaith" am wrthrych gobaith, yr hyn y gobeithir am dano; oblegid sonir yn yr adn. nesaf am obaith fel teimlad oddifewn. Efallai fod yr awdwr yn desgrifio y teimlad o obaith ei hun fel gwrthrych i ddal gafael sicr ynddo. Ein gobaith ei hun yw allor ein diogelwch. Gollwng ein gafael o obaith, hyny yw, llwfrhau, yw y perygl mwyaf. Y mae y gobaith sydd wedi ei osod yn sefydlog, yn gyferbyniol i "lithro heibio i'r angorfa" a "syrthio ymaith."

**ADN. 19.—Yr hwn**; sef y gobaith, nid y cysur. Parha yr awdwr i ddesgrifio ein gobaith tufewnol fel gwrthrych, ond newidir y gyffelybiaeth oddiwrth allor dyogelwch at angor.

sydd gennym ni megis angor yr enaid, yn ddïogel ac yn sicr,
ac yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen;
I'r man yr aeth y rhag-flaenor drosom ni, *sef* Iesu, yr hwn a 20
wnaethpwyd yn Arch-offeiriad yn dragywyddol yn ol urdd
Melchisedec.

## PENOD VII.

CANYS y Melchisedec hwn, brenhin Salem, offeiriad y Duw 1

---

**Yn ddyogel a sicr.** Y mae yr angor yn ddyogel am ei fod wedi ei wneyd o ddefnydd da; ni thyr ac ni phlyga. Y mae yr angor yn sicr am ei fod yn bachu yn sicr yn y gwaelod.

**Hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen.** Newidir y gyffelybiaeth eto. Teflir angor i'r môr. Ond y mae ein hangor ni, sef gobaith, yn myned i'r cysegr sancteiddiolaf. Ystyr y gair "llen," yn yr adn. hon, ydyw y llen rhwng y cysegr a'r sancteiddiolaf. Gwel Exod. xxvi. 31—35. Gair arall sydd yn golygu y llen rhwng y cyntedd a'r cysegr. Dygir y syniad i mewn yma, er mwyn parotoi at y cyfeiriad yn yr adn. nesaf at Iesu yn myned i mewn i'r nefoedd.

**ADN. 20.**—Y nefoedd yw y cysegr y mae ein gobaith, megis angor, yn myned i mewn iddo ac yn sicrhau ei afael oddifewn; y man yr aeth Iesu iddo yn ei farwolaeth.

**Rhagflaenor.** Y mae y gyffelybiaeth unwaith eto yn newid. Aeth Iesu i'r nefoedd yn rhagredegydd i ni; aeth yno *drosom* ni, fel y mae yr archoffeiriad yn myned i mewn i'r sancteiddiolaf dros y bobl; ond aeth yno hefyd fel ein rhagredegydd ni, yr hyn nid oedd yr archoffeiriad Iuddewig i'r bobl, i sicrhau ein mynediad ninau i mewn ar ei ol.

**Iesu;** mewn cyfeiriad at fynediad hanesyddol y dyn Iesu i'r nefoedd. Ond cawn weled mewn rhan ddilynol o'r Epistol fod yn ofynol i ni beidio ymholi pa un ai at ei farwolaeth ai at ei esgyniad y cyfeiria yr awdwr. I'w feddwl ef yr un mynediad i mewn yw y ddau. Wedi dyfod at y syniad fod Iesu yn y nefoedd fel Offeiriad, y mae yr awdwr yn cydio â hyn y syniad mai yn ol urdd Melchisedec y mae efe yn Offeiriad. Y mae y ddau syniad yn asio yn hollol. Yn y ffaith fod Iesu yn Offeiriad yn ol urdd Melchisedec yn y nefoedd y mae y cymhelliad cryfaf eto. Ac at hyn y dychwel yr awdwr bellach. Gyda'r crybwylliad am yr Archoffeiriad yn ol urdd Melchisedec y dechreuodd yr adran hon sydd megis rhwng cromfachau, a dengys ddeheurwydd neillduol wrth gymmeryd mantais ar y crybwylliad am Iesu yn myned i mewn i'r cysegr fel Offeiriad i ddychwelyd at y pwnc. Da fyddai cadw y geiriau "yn dragywydd" hyd ddiwedd yr adn., fel yn y gwreiddiol: "wedi dyfod yn ol urdd Melchisedec yn Offeiriad yn dragwyddol."

### VI.—Yr Offeiriad yn ol urdd Melchisedec.
vii. 1—28.

Dychwel yr awdwr oddiwrth ei ymliwiad difrifol a'i gymhelliad calonogol at y pwnc y cychwynodd gydag ef yn v. 10, sef natur offeiriadaeth Crist fel y dangosir hi yn hanes Melchisedec. Y mae y geiriau olaf o'r adran sydd mewn cromfachau yn cynwys cnewyllyn y cwbl a gyrhaeddasai yr awdwr yn yr adranau blaenorol, sef fod Iesu wedi myned i'r tu fewn i'r llen drosom ni ac fel ein rhagredegydd ni, a chynwysa hyn drachefn ei fod yno yn Archoffeiriad tragwyddol. Hwn

Goruchaf, yr hwn a gyfarfu âg Abraham wrth ddychwelyd

ydyw yr ymadrodd anhawdd ei draethu o achos fod yr Hebreaid yn hwyrdrwm eu clustiau. Ymliw â hwynt oblegid hyny y mae yr awdwr yn y chweched benod. Erbyn hyn, yn y gobaith hyderus y gall gredu y pethau gwell am eu sefyllfa ysbrydol, dechreua ddehongli yr ymadrodd caled trwy gyffelybu Iesu i Melchisedec a dangos ei fod yn Offeiriad yn ol urdd Melchisedec. Y colyn y try holl ymresymiad y benod arno ydyw geiriau y Salmydd, "Tyngodd yr Arglwydd, ac nid edifarha, Ti wyt offeiriad yn dragwyddol, yn ol urdd Melchisedec," Salm cx. 4. Y mae y geiriau yn hynod fel awgrymiad fod dymuniad am offeiriadaeth wahanol i offeiriadaeth Aaron yn llechu yn mynwes dynion mwyaf meddylgar a chrefyddol yr hen oruchwyliaeth ei hun. Ond yr hyn sydd yn gwneyd geiriau y Salmydd yn fwy dyeithrol fyth ydyw yr hiraeth a ddangosant am frenhin arall, yr hwn fydd yn fwy na mab i Dafydd: "Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn fainc i'th draed." Salm cx. 1. Ac eto Dafydd ei hun sydd yn dywedyd hyn. Wrth Arglwydd Dafydd y llefarodd yr Arglwydd. Trwy gyfeiriad at yr un Salm y dyrysodd yr Iesu y Phariseaid, pan y gofynodd, "Os yw Dafydd, gan hyny, yn ei alw ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fab iddo?" Sylwa Delitzsch, yn ei Esboniad ar Lyfr y Salmau, "nad ydyw Dafydd yn gwahaniaethu rhyngddo ei hun a Messia ond yn unig yn y Salm hon." Hyny ydyw, ymhob Salm Fessianaidd arall Dafydd ei hun yn cael ei ddesgrifio yn ei berffeithrwydd a chyflawnder ei ogoniant ydyw y Messia, ond yma darlunir ef fel Arglwydd Dafydd. Felly hefyd yn Llyfr Zechariah (vi. 11, 13), gorchymyna yr Arglwydd i'r prophwyd wneyd coronau a'u gosod ar ben Josua yr archoffeiriad; a dywedir y bydd y gŵr a'i enw Blaguryn (gwel nodiad ar adn. 14) "yn offeiriad ar ei frenhin-fainc." Yn yr Apocrypha, drachefn, darlunir y tywysogion Maccabeaidd fel wedi eu gwisgo â gwisgoedd offeiriadol (1 Macc. x. 21). Y mae Philo wedi rhagflaenu awdwr yr Epistol yn ei ddesgrifiad o Melchisedec fel offeiriad brenhinol. Oddiwrth hyn oll gellir casglu fod goreuon yr Hen Destament yn dyheu am ryw fath o frenhiniaeth well na brenhiniaeth Dafydd a rhyw fath o offeiriadaeth well nag offeiriadaeth Aaron, a disgwylient i'r frenhiniaeth well a'r offeiriadaeth well gyfarfod yn yr un person. Ond tra y cydnabyddaf fod awdwr yr Epistol wedi cymmeryd y syniad o offeiriad brenhinol allan o ysbrydiaeth saint mwyaf yr Hen Destament ac o Philo, ychwanega efe un drychfeddwl yr hwn, mewn gwirionedd, sydd yn perffeithio y syniad ac yn ei wneyd yn gymhwysiadol at Iesu Grist, sef fod yr offeiriad sydd yn frenhin yn offeiriad tragwyddol. Yn wir, y drychfeddwl gogoneddus hwn oedd yn gwneyd hanes Melchisedec yn angenrheidiol fel cysgod o Grist. Parhad diddiwedd yr offeiriadaeth yw y nodwedd neillduol nas gellir ei dangos trwy y cysgodau byrhoedlog. Byddai mor hawdd i gysgod ddangos beth yw y corph ag a fyddai i ddefodau dros amser ddangos parhad tragwyddol. Yr unig ffordd i osod allan y syniad am offeiriadaeth dragwyddol ydyw trwy ryw offeiriadaeth nad oes sôn am na dechreu na diwedd iddi; yn debyg fel yr arwyddoceir y tragwyddol ar gerfluniau yr Aipht trwy linell sydd heb ddechreu na diwedd, ond sydd yn troi yn ol arni ei hun, fel cylch. Offeiriadaeth fel hyn yw offeiriadaeth Melchisedec, a'r gwirionedd penaf a osodir allan trwyddi ydyw fod Iesu yn offeiriad yn dragywydd.

Gellir rhanu y seithfed benod fel y canlyn:—

1. Desgrifiad o fawredd Melchisedec (1—10);
   - (*a*) Ynddo ei hun fel offeiriad a brenhin (1—3);
   - (*b*) Yn ei ragoriaeth ar Abraham (4—8);
   - (*c*) Yn ei ragoriaeth ar Lefi (9, 10).

o ladd y brenhinoedd, ac a'i bendithiodd ef; I'r hwn hefyd y 2
cyfrannodd Abraham ddegwm o bob peth: yr hwn yn gyntaf
o'i gyfieithu, *yw*, Brenhin cyfiawnder, ac wedi hynny hefyd,

---

2. Rhagoriaeth Crist ar Aaron yn cael ei brofi oddiwrth ei fod o urdd Melchisedec (11—28).
   (*a*) Y mae fod Crist yn ol urdd Melchisedec yn cynwys cyfnewidiad yn y gyfraith hefyd am osodiad yr offeiriad (11—14).
   (*b*) Y mae fod Crist yn ol urdd Melchisedec yn cynwys ei fod yn offeiriad yn ol nerth bywyd ac nid cyfraith gorchymyn (15—19).
   (*c*) Y mae fod Crist yn ol urdd Melchisedec yn cynwys ei fod yn offeiriad trwy lw, ac felly yn fachniydd cyfamod gwell (20—22).
   (*d*) Y mae fod Crist yn ol urdd Melchisedec yn cynwys fod ei offeiriadaeth yn dragwyddol ac yntau yn alluog i achub i berffeithrwydd (23—28).

**PEN VII.—ADN. 1.—Salem.** Dadleua esbonwyr, rhai mai Jerusalem, eraill mai Salem yn agos i Ainon (Ioan iii. 23) neu yn agos i Sichem (Gen. xxxiii. 18, ar ymyl y ddalen) a feddylir. Nid oes modd bod yn sicr. Ond y mae yn debygol iawn mai nid Jerusalem ydoedd y lle, gan mai Jebus oedd enw Jerusalem am oesoedd ar ol dyddiau Abraham. Dadleua Delitzsch o blaid Jerusalem, am mai dyna y traddodiad Iuddewig. Ond y mae yn bosibl rhoi mwy o bwys ar hyn nag a haedda, oblegid naturiol oedd i'r Iuddewon gasglu holl amgylchiadau henafol a gogoneddus y genedl i Jerusalem. Y mae y cwestiwn yn ddibwys. Gelwir Jerusalem yn Salem yn Salm lxxvi. 2.

**Y Duw Goruchaf.** Gen. xiv. 18. Yr oedd Melchisedec y tu allan i deulu Abraham ac i linell y datguddiad a roddwyd i Abraham. Eto nid eulun-addolwr oedd, ond addolwr yr un Duw ag y credodd Abraham ynddo, pan y cyfrifwyd hyny iddo yn gyfiawnder (Gen. xv. 6). Y mae Melchisedec, nid yn unig yn addoli y gwir Dduw, ond yn offeiriad iddo, er nad oedd yn perthyn i'r teulu yr hanodd Aaron ar ol hyn ohono. Y mae awdwr yr Epistol yn galw sylw at hyn, i ddangos fod yr urdd offeiriadol y perthynai Crist iddi yn bod cyn ac ar wahan oddiwrth offeiriadaeth Aaron, ac felly y gall barhau wedi i hono ddarfod.

**A gyfarfu**; neu, yn well, "a aeth i gyfarfod." Golyga y gair fwriad. Aeth fel offeiriad i fendithio Abraham, nid fel brenhin i gydnabod unrhyw rwymedigaeth iddo am ei amddiffyn, yr hyn ni cheir yn yr hanes ond am frenhin Sodom.

**ADN. 2.** Wrth dalu i Melchisedec y degwm o'r anrhaith, cydnabyddai Abraham ei offeiriadaeth. Felly y telid hefyd i deulu Aaron.

**Brenhin cyfiawnder.** Hyn yw ystyr yr enw Melchisedec. Dechreua yr awdwr "ddehongli." Gwel v. 10.

**Brenhin heddwch.** Ystyr yr enw Salem ydyw "heddwch." Cyfuner y ddau, a chawn ystyr yr holl enw "Melchisedec o Salem," "brenhin cyfiawnder a heddwch." Ond y ddau beth hyn gyda'u gilydd, cyfiawnder a heddwch, sydd yn gwneyd offeiriadaeth. Y mae cyfiawnder heb heddwch yn cosbi yr euog; y mae heddwch heb gyfiawnder yn dianrhydeddu yr orsedd. Heblaw hyny, tra y mae cyfuniad o gyfiawnder a heddwch yn cyfansoddi offeiriadaeth, yr oedd Melchisedec yn *frenhin* cyfiawnder ac yn *frenhin* heddwch. Y mae ei offeiriadaeth yn cynwys brenhiniaeth. Nid ymddengys i mi yn anmhriodol galw y defnydd a wna yr awdwr o hanes Melchisedec yn alegori. Y mae Bruce yn synu at hyn. Ond yr wyf yn methu gweled y gwahaniaeth rhwng hyn a desgrifiad yr Apostol Paul o'r ddau gyfamod dan enwau Agar neu fynydd Sinai yn Arabia neu y Jerusalem sydd yn awr a'r Jerusalem uchod. Eto dywed Paul ei fod yn llefaru mewn alegori. Dadleua Bruce nad yw yr awdwr yn profi offeiriad-

3 Brenhin Salem, yr hyn yw, Brenhin heddwch; Heb dad, heb
fam, heb achau, heb fod iddo na dechreu dyddiau, na diwedd
einioes; eithr wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw, sydd

---

aeth Crist os nad yma. Ond y mae Crist yn Archoffeiriad Mawr eisoes yn yr ail benod. Y mae alegori yn gosod allan athrawiaeth yn hollol fel y mae dameg. Ceir alegori eto yn ix. 16, 17.

**ADN. 3.—Heb dad, &c.** Wedi dyweyd pa fath ydoedd Melchisedec fel brenhin, desgrifia yr awdwr ef, yn nesaf, fel offeiriad. Nid ydym i feddwl mai yr ystyr yw ei fod heb rieni. Ond Melchisedec yw y cyntaf yn llyfr Genesis nad oes son am ei achau. Ymddengys yn ddisymwth ac yn ddisymwth y diflana, a diflana mor llwyr fel na chrybwyllir am dano mwyach yn yr Hen Destament ond yn unig yn y Salm y seilia yr awdwr ei ddadl arni. Y mae yn sicr mai ymresymu y mae yr awdwr oddiwrth ddystawrwydd yr Ysgrythyrau am ei rieni; oblegid ymresyma Philo yn yr un dull. Yn offeiriadaeth Lefi yr oedd achau yn anhebgorol. Gwel Neh. vii. 64.

**Wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw.** Oni ddisgwyliasem i'r awdwr ddyweyd fod Mab Duw wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Melchisedec? Yr ystyr ydyw mai Crist oedd y sylwedd o'r hwn yr oedd Melchisedec yn gysgod. Yn meddwl Duw, gan hyny, lluniwyd Melchisedec ar ffurf yr hwn oedd i ddyfod, ond yr hwn hefyd oedd eisoes yn bod ac yn gynllun gweithredoedd Duw. Ac felly cyfeiria y geiriau hyn, nid at ei swydd yn unig, ond at ei ymddangosiad ymhlith dynion, yr hwn a fwriadwyd i drosglwyddo y syniad fod Mab Duw, nid yn unig yn ei swydd, ond hefyd yn ei berson, yn ddi-ddechreu a di-ddiwedd. Nis gallasai Crist fod yn ol urdd Melchisedec o ran ei offeiriadaeth pe na buasai Melchisedec o ran ei berson a'i gymmeriad wedi ei wneyd yn gyffelyb i Grist, fel yr oedd cyn ei ymgnawdoliad yn Fab Duw.

**Sydd yn aros yn offeiriad yn dragywydd.** Rhaid cyssylltu y geiriau hyn â dechreu yr adn. gyntaf: "Y mae y Melchisedec hwn yn aros," &c. Ond y mae yr holl eiriau sydd rhwng yr enw ("Melchisedec") a'r ferf ("yn aros") yn rhoi yr achos paham y mae efe yn aros, a swm y cwbl ydyw ei fod yn offeiriad brenhinol. Am ei fod felly, efe a erys yn offeiriad byth. Ymddengys i mi mai Melchisedec ei hun sydd yn aros yn offeiriad yn dragywydd. Perthyna efe i'r dosbarth hwnw o ddynion y mae eu swydd yn codi o'u mawredd personol. Ond nis gellir rhoddi cyfrif am ymddangosiad y dynion hyn o bryd i bryd ar y ddaear, ac nid oes terfyn ychwaith ar eu dylanwad. Y maent heb dad, heb fam, heb achau, heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes. Cyffelyb ydynt i'r rhai a aned o'r ysbryd, am y rhai nas gwyddom o ba le y daethant nac i ba le y maent yn myned, ac i Fab Duw, am yr hwn nis gallwn ddyweyd ond ei fod yn Fab Duw ac wedi dyfod oddiwrth Dduw. Nid oes diwedd yn aros y fath ddynion. Fel y dywedir fod awdwr bywyd ei hun yn fyw, felly y gellir dywedyd fod yn rhaid fod y neb sydd yn cynyrchu dylanwad ysbrydol diddarfod yn anfarwol ei hun. Ond yn arbenig y mae hyn yn wir am offeiriaid y ddynoliaeth. Gweddiant dros ddynion, ac atebir eu gweddiau mewn bendithion diddarfod. Os yw eu gweddiau yn anfarwol, a ellir dychymygu eu bod eu hunain yn trengu? Na, y mae y dynion hyn yn anad neb yn meddu nerth bywyd annherfynol. Wedi meirw yn y cnawd, y maent yn byw yn yr ysbryd. Yr wrthddadl benaf yn erbyn y golygiad hwn ar yr adn. ydyw y gellir dyweyd hyn oll am liaws heblaw Melchisedec. Gwir; ond Melchisedec a ddewiswyd gan Dduw i fod yn y peth hwn yn gysgod o Grist. Oherwydd ei urddas personol apwyntiwyd ef i fod yn

yn aros yn Offeiriad yn dragywydd. Edrychwch faint *oedd* 4
hwn, i'r hwn hefyd y rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm
o'r anrhaith. A'r rhai yn wir *sydd* o feibion Lefi yn derbyn 5
swydd yr offeiriadaeth, y mae ganddynt orchymyn i gymmeryd
degwm gan y bobl yn ol y gyfraith, sef gan eu brodyr, er eu

---

offeiriad. Y mae ei offeiriadaeth ef o osodiad Duw yn hollol mor wirioneddol â gosodiad Aaron. Y cwestiwn ydyw pa beth yn Melchisedec oedd yn peri fod ei osodiad ef yn ei wneyd yn offeiriad yn dragywydd. Yr ateb ydyw y nerth bywyd annherfynol hwnw sydd yn perthyn iddo ef, ac i liaws eraill, ond a ddewiswyd ynddo ef gan Dduw fel sail offeiriadaeth a chysgod o offeiriadaeth Crist. Fel rhesymau ychwanegol dros y golygiad gellir crybwyll (1) mai nodweddion personol ydyw y cyfiawnder a'r heddwch a briodolir i frenhiniaeth Melchisedec, ac y mae yn lled eglur mai fel nodweddion personol Melchisedec yr ystyrir hwynt gan yr awdwr; (2) "nerth *bywyd* annherfynol" a enwir gan yr awdwr fel y neillduolrwydd cyferbyniol yn y gwrth-gysgod (adn. 16); ond beth yw y "bywyd" hwn ond mawredd personol Iesu Grist? Felly hefyd, yn adn. 26, cyssylltir ei fod ef yn byw bob amser i eiriol â'i gymmeriad personol, fel Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth y pechaduriaid; a dywedir yn adn. 28 fod gair y llw yn gwneuthur un a *berffeithiwyd* yn dragywydd yn Archoffeiriad.

**ADN. 4.**—**Y patriarch.** Yn yr Apocrypha y gelwir Abraham, Isaac, a Jacob, yn batriarchiaid. Ystyr y gair ydyw "sylfaenydd teulu." Gelwir Abraham felly yn yr adn. hon i alw sylw at y parch a delid i Melchisedec gan hyd yn nod dad y genedl y perthynai Aaron a'i offeiriadaeth iddi; a diau fod yr awdwr wrth ddwyn yr enw i mewn ar ddiwedd yr adn. yn gosod pwys arbenig ar yr enw. Abraham oedd *y* patriarch, gwreiddyn holl Israel a'r holl rai sydd o ffydd Abraham trwy yr oesoedd.

**ADN. 5, 6.**—Y mae yr offeiriad Lefiticaidd yn cymmeryd degwm gan "bobl" Dduw, eu brodyr, etifeddion yr addewid a roddwyd i Abraham. Nis gallent, ac ni feiddient, wneyd y fath beth oni buasai gorchymyn iddynt wneyd, a hyny yn ol y gyfraith neu yr oruchwyliaeth a sefydlodd Duw yn eu plith. Eithr y mae Melchisedec yn cymmeryd degwm gan Abraham ei hun, ac yn rhoddi bendith i'r hwn yr oedd yr addewidion iddo, a hyny heb un gorchymyn nac mewn cyssylltiad âg un gyfraith neu oruchwyliaeth.

**A'r rhai yn wir sydd o feibion Lefi yn derbyn swydd yr offeiriadaeth.** Y mae yn anhawdd penderfynu ystyr y geiriau hyn, pa un ai "y Lefiaid hyny y rhai sydd yn offeiriaid," ai ynte "y rhai sydd yn offeiriaid am eu bod o feibion Lefi." Yn ol y golygiad cyntaf, yr ystyr ydyw nad offeiriad pawb o lwyth Lefi, ac, am hyny, nad oedd hawl gan bawb i gymmeryd degwm. Ond fe roddodd yr Arglwydd bob degwm i feibion Lefi (Num. xviii. 21). Heblaw hyny, y mae yn anhawdd gweled paham y sonia yr awdwr am feibion Lefi o gwbl, yn lle crybwyll yr offeiriaid yn unig. Am y rhesymau hyn gwell genyf yr ail olygiad. Tebygol mai yr ystyr yw fod meibion Lefi yn cymmeryd degwm am eu bod yn derbyn yr offeiriadaeth. Am fod yr offeiriadaeth ganddynt, yr oedd y degwm ganddynt.

**Gorchymyn.** Y mae pwyslais ar y gair. Y gwahaniaeth rhyngddo a'r gair "cyfraith" yw fod yr olaf yn golygu yr oruchwyliaeth yn gyffredinol, a'r cyntaf y gorchymyn neillduol i gymmeryd degwm. Y mae y gorchymyn yn gorphwys ar y gyfraith, ac yn unol â'i hysbryd hi. Gwel Rhuf. vii. 9.

**Y bobl**; sef "pobl Dduw." Golyga y gair, nid yn unig y gwahan-

6 bod wedi dyfod o lwynau Abraham: Eithr yr hwn nid oedd ei
achau o honynt hwy, a gymmerodd ddegwm gan Abraham, ac
7 a fendithiodd yr hwn yr oedd yr addewidion iddo. Ac yn ddi-
8 ddadl, yr hwn *sydd* leiaf a fendithir gan ei well. Ac yma y
mae dynion y rhai sydd yn meirw yn cymmeryd degymmau:
eithr yno, yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fod yn fyw.

---

iaeth rhwng yr offeiriaid a'r lleygwyr (" *laity* "), ond hefyd neillduad gan Dduw oddiwrth " y cenhedloedd." Gwel Act. iv. 8.

Ymddengys oddiwrth Num. xviii. 28, fod y Lefiaid yn cymmeryd degwm gan holl Israel, ac yn talu degwm o'r degwm hwn i'r offeiriaid. Ni ddylai hyn beri un anhawsder; oblegid yr offeiriadaeth yn y llwyth oedd yn rhoi hawl i'r llwyth i gymmeryd degwm o gwbl, ac felly y mae yn eithaf priodol i'r awdwr ddyweyd fod yr offeiriaid yn degymu y bobl.

**Eu brodyr.** Dywedir hyn i ddangos na fuasai yr offeiriaid yn beiddio cymmeryd y degwm ganddynt, a hwy yn frodyr iddynt, heb orchymyn Duw. Gwel Matt. xvii. 25, 26, lle y mae yr Iesu yn ymresymu oddiwrth arferiad brenhinoedd y ddaear o gymmeryd teyrnged gan estroniaid yn unig, fod *plant* Duw yn rhydd oddiwrth deyrnged y deml. Felly hefyd am y degwm yn Israel. Gorchymyn Duw oedd yn cyfreithloni y peth.

**Er eu bod wedi dyfod o lwynau Abraham;** sef y brodyr, y rhai a dalent ddegwm. Yr ystyr ydyw eu bod yn talu degwm, er eu bod yn etifeddion yr addewid, ac yn "blant," fel y dywed yr Iesu yn Matt. xvii. 26.

**ADN. 6.**—Nid oedd Melchisedec yn y llinell o achau y gorchymynodd Duw i'r rhai a berthynent iddi gymmeryd degwm. Y mae y syniad o orchymyn neu awdurdod oddiwrth Dduw yn gorwedd yn y gair gwreiddiol a gyfieithir "yr hwn nid oedd ei achau ohonynt hwy." Y cyfieithiad llythyrenol fyddai, "yr hwn ni cheir yn yr âch a restrwyd (gan Dduw) ohonynt hwy."

**Ac a fendithiodd yr hwn yr oedd yr addewidion iddo;** yn hytrach, "ganddo." Gan fod Abraham yn "meddianu" yr addewidion, pa angen oedd am ei fendithio? Eto yr oedd Melchisedec yn ddigon mawr i roi bendith iddo ef, meddianydd yr addewidion.

**ADN. 7.—Yr hwn sydd leiaf;** yn llythyrenol, "y peth llai;" i roddi yr holl bwyslais ar y bychander. Y casgliad ydyw fod Melchisedec yn fwy nag Abraham. Ond gadewir y casgliad heb ei osod i lawr mewn geiriau. Gadewir ef allan am y rheswm mai nid y casgliad *hwn* yw y prif bwnc yn yr ymresymiad, ond y llall, sef y cyffelybrwydd rhwng Melchisedec a Christ, fel prawf o ragoriaeth Crist ar Aaron.

**ADN. 8.—Yma,** sef yn ngoruchwyliaeth Moses.

**Yno,** sef yn hanes Melchisedec.

**Yn meirw;** mewn cyfeiriad at y llinach, o dad i fab.

**Degymau;** hyny yw, y gwahanol fathau o ddegwm dan y gyfraith. Gwel Num. xvii. 8—13.

**Yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fod yn fyw.** Y mae yn sicr mai Melchisedec, nid Crist, a feddylir. Ceir y dystiolaeth yn yr hanes yn Llyfr Genesis fel yr esbonir yr hanes gan yr awdwr yn adn. 3. Sylwer mai nid y dystiolaeth ydyw yn unig y bydd offeiriadaeth Melchisedec yn parhau, ond fod Melchisedec ei hun yn fyw. Seilia yr awdwr hyn ar barhad diddiwedd ei offeiriadaeth. Ond y mae yr adn. yn brawf ychwanegol mai *mawredd personol* Melchisedec a feddylir o hyd. Yn fyw yn y byd ysbrydol yw yr ystyr.

Ac, fel y dywedwyf felly, yn Abraham y talodd Lefi hefyd 9
ddegwm, yr hwn oedd yn cymmeryd degymmau. Oblegid yr 10
oedd efe etto yn lwynau ei dad pan gyfarfu Melchisedec âg ef.
Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd trwy offeiriadaeth Lefi, 11
(oblegid dan honno y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl,) pa raid

---

**ADN. 9.**—Wedi dangos fod Melchisedec yn fwy nag Abraham, dengys yr awdwr fod hyny yn cynwys fod Melchisedec yn fwy nag Aaron. Oblegid ni a allwn ystyried (dyna ystyr y geiriau, "fel y dywedwyf felly") fod Lefi yn talu degwm yn Abraham. Yr anhawsder ydyw gweled paham y sonia yr awdwr am Lefi, yn lle am Aaron. Yn adn. 11 crybwylla hyd yn nod am "offeiriadaeth Lefi," ac nid offeiriadaeth Aaron! Y rheswm ydyw mai i lwyth Lefi fel y meddianai yr offeiriadaeth, ac nid i Aaron yn bersonol, y rhoddwyd y degwm. Pe dywedasai yr awdwr fod Aaron, yn lwynau Abraham, yn talu degwm i Melchisedec, yr ystyr fuasai yn unig fod y dyn hwn, Aaron, yn gwneyd hyny, fel pe byddai yn weithred bersonol o'i eiddo. Ond pan y dywedir fod Lefi yn talu degwm, yr ystyr yw fod yr offeiriadaeth, yr hon a berthynai i'r llwyth hwn, yn gwneyd hyny. Y mae hyn hefyd yn cyfarfod anhawsder arall. Onid oedd Iesu yn lwynau Abraham, yn gystal ag Aaron? A phaham na ellid dyweyd fod Iesu trwy Abraham yn talu degwm i Melchisedec? Yr ateb ydyw mai offeiriadaeth Lefi oedd yn cydnabod uwchafiaeth offeiriadaeth Melchisedec, ac yr oedd offeiriadaeth Lefi yn sylfaenedig ar "achau." Ond nid oedd offeiriadaeth yr Iesu yn gorphwys o gwbl ar haniad ei ddynoliaeth, ond, fel y dengys awdwr yr Epistol, ar fawredd ei berson fel Mab Duw. Ac hyd yn nod pan yr olrheinia Luc achau dynoliaeth yr Iesu, y mae yn myned yn ol tuhwnt i Abraham at "Adda, fab Duw."

**ADN. 11.**—Y casgliad oddiwrth yr hyn a ddywedir yn yr adnodau blaenorol am Melchisedec fel cysgod o Grist ydyw nad oedd perffeithiad trwy offeiriadaeth Lefi; oblegid, pe buasai, pa angen fuasai am offeiriad yn ol urdd wahanol? Y mae "gan hyny" yn gyfieithiad cywir, ac yn well na'r cyfieithiad a gynygia Alford, sef "drachefn." Dadleua Rendall mai ystyr y gair a gyfieithir "perffeithrwydd" yn yr adn. hon ydyw "cysegriad" yr offeiriad i'w swydd, ac, felly, mai amcan yr awdwr ydyw ymholi, gan fod cysegriad drwy offeiriadaeth Lefi, pa angen oedd am offeiriad yn ol urdd wahanol. Ond y mae rhesymau digonol yn erbyn y golygiad hwn. Yn gyntaf, prin y gallasai yr awdwr ddyweyd fod cysegriad i'r offeiriadaeth *trwy* yr offeiriadaeth ei hun. Yn ail, ceir yr un gair yn adn. 19, ac y mae yn eglur mai yr un ystyr sydd i'r gair yn y ddwy adn.; ond cyfieitha Rendall ef yno, nid "cysegru," ond "cwblhau" ("*complete*"). Ond os cyfieithir ef "cysegru," dywed adn. 19 na chysegrodd y gyfraith ddim, yr hyn na fyddai yn wir. Yn drydydd, os yw golygiad Rendall yn gywir, y mae yn naturiol i ni ofyn yn mha adnod arall yr eglura yr awdwr yr angenrheidrwydd am offeiriad yn ol urdd wahanol; ond nis gallwn ateb y cwestiwn. Rhaid, gan hyny, mai nid "cysegriad" i'r offeiriadaeth ydyw ystyr y gair. Yr un pryd, nis gallaf dderbyn golygiad y rhan fwyaf o'r esbonwyr mai y meddwl ydyw nad oedd cyflawn berffeithrwydd moesol drwy offeiriadaeth Lefi; oblegid yn x. 14, dywed yr awdwr fod Crist âg un offrwm *wedi* perffeithio y rhai *sydd yn cael* eu sancteiddio (y mae gair i fod yn yr amseriad presenol, nid "*wedi* eu sancteiddio"). Y mae y perffeithiad wedi ei orphen. Ymddengys oddiwrth hyn fod yr awdwr yn arfer y gair "perffeithio" am yr hyn a wnaeth Crist trwy ei un offrwm pan yr oedd yn ei offrymu. Os felly, beth yw y gwahaniaeth rhwng

*oedd* mwyach godi Offeiriad arall yn ol urdd Melchisedec, ac
12 nas gelwid ef yn ol urdd Aaron? Canys wedi newidio yr
offeiriadaeth, anghenraid yw bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd.
13 Oblegid am yr hwn y dywedir y pethau hyn, efe a berthyn i
lwyth arall, o'r hwn nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor.
14 Canys hysbys *yw*, mai o Juda y cododd ein Harglwydd ni: am

---

"perffeithio" a "phuro?" Y mae y gair "puro" yn cyfeirio at yr euogrwydd a symudir, a'r gair "perffeithio" at y personau eu hunain, y rhai, trwy y puredigaeth hwnw, a agoshânt at Dduw. Amcan yr adn. hon ydyw profi *nad oedd* y perffeithiad hwn yn cael ei gynyrchu drwy offeiriadaeth Lefi. Gwell ydyw y gair "perffeithiad" na'r gair "perffeithrwydd," fel cyfieithiad o'r gwreiddiol.

**Oblegid dan hono y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl.** Yn fwy llythyrenol, "ar sail hono." Yr offeiriadaeth oedd sylfaen yr oruchwyliaeth fel cyfraith neu osodiad dwyfol. Y mae yn wir mai rhan o'r oruchwyliaeth oedd yr offeiriadaeth; ond y rhan hono ydoedd yr hon a roddai ystyr i bob rhan arall ac i'r oruchwyliaeth oll.

**Arall.** Golyga y gair sydd yn y lle hwn, "o natur wahanol."

**Godi.** Y mae y cyfeiriad at Zech. vi. 12 eisoes yn meddwl yr awdwr, er mai yn adn. 14 y ceir y gymhariaeth yn gyflawn.

**ADN. 12.**—Yn yr adn. hon rhoddir y rheswm dros y gofyniad sydd yn yr adn. flaenorol. Ergyd y gofyniad hwnw oedd dangos fod ymddangosiad offeiriad o urdd wahanol i urdd Aaron yn profi analluoffeiriadaeth Lefi i gynyrchu perffeithiad. Dywed yr awdwr yn adn. 12 mai yr hyn sydd yn gwneyd y peth a brofir yn yr adn. flaenorol yn bwysig ydyw fod yr oruchwyliaeth yn seiliedig ar yr offeiriadaeth, ac felly fod cyfnewidiad yn yr offeiriadaeth yn dwyn gydag ef hefyd gyfnewidiad yn yr oruchwyliaeth.

**ADN. 13.**—Prawf ydyw yr adn. hon fod yr offeiriadaeth wedi ei newid. Ysgrifena yr awdwr at Gristionogion, y rhai a gredent mai yr Iesu oedd yr offeiriad yn ol urdd Melchisedec. Am dano ef y dywedai y Salmydd hyny. Y prawf fod yr offeiriadaeth wedi ei newid o urdd Aaron ydyw y ffaith hanesyddol fod yr Iesu yn perthyn i lwyth gwahanol i'r llwyth offeiriadol dan y gyfraith. Yr oedd perthyn i lwyth Lefi yn anhebgorol i offeiriadaeth Aaron. Gwel Num. xvi. 40. Nid digwyddiad ydoedd. Er nad yw yr awdwr yn hysbysu i ni beth oedd yr achos mai llwyth Lefi a ddewiswyd yn unig, y mae ei ymresymiad yn y lle hwn yn gorphwys ar yr angenrheidrwydd i'r offeiriadaeth yn ol urdd Aaron fod yn y llwyth hwn, ac yn cynwys y byddai cyfnewid y llwyth yn gyfnewidiad ar natur yr offeiriadaeth, a hyny drachefn yn gyfnewidiad ar yr oruchwyliaeth. Dywedir mewn llyfr boreuol fod Iesu o lwyth Lefi.

**A berthyn.** Y cyfieithiad mwyaf llythyrenol ydyw "a ddaeth yn gyfranog o lwyth arall." Y rheswm dros arfer y gair anghyffredin hwn ydyw, mi a dybygaf, fod yr awdwr yn golygu Iesu fel Mab Duw cyn ei ymddangosiad yn y cnawd. Gan hyny cymmerodd ei le yn y llwyth y perthynai ei ddynoliaeth iddo.

**ADN. 14.**—Er mai Iesu a feddylir yn yr adn. o'r blaen, ac nid yr offeiriad yn ol urdd Melchisedec heb unrhyw gyfeiriad at yr hwn sydd yn offeiriad yn ol yr urdd hono, eto nid ail ddyweyd yr un peth y mae yr awdwr yn yr adn. hon. Heblaw ei fod yn rhoi enw y llwyth y cymerodd Mab Duw ran ynddo, geilw sylw at y ffaith mai y llwyth brenhinol ydoedd hwnw. Yr oedd cyfuniad y brenhin a'r offeiriad yn rhan hanfodol o'r cysgod o Grist sydd yn Melchisedec. Dengys y ffaith fod Iesu yn perthyn

yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tu ag at offeiriadaeth.
Ac y mae yn eglurach o lawer etto; od oes yn ol cyffelybrwydd 15
Melchisedec Offeiriad arall yn codi, Yr hwn a wnaed, nid yn 16

---

i Juda un peth arall hefyd, sef ei fod yn frenhin yn ol urdd Dafydd, tra nad oedd yn offeiriad yn ol urdd Aaron. Ni fu newid ar y frenhiniaeth; fe fu newid ar yr offeiriadaeth. I ddangos fod y cyfeiriad hwn at y frenhiniaeth yn gystal a'r offeiriadaeth yn meddwl yr awdwr, y mae yn weddus sylwi ar ddau beth; yn gyntaf, ei fod yn galw yr Iesu yn "Arglwydd;" ac, yn ail, ei fod yn dyfynu gair o brophwydoliaeth Zechariah a ddefnyddiwyd ganddo o'r blaen. Yn y Bibl Cymraeg, yr hwn sydd yn gyfieithiad o'r Hebraeg, y mae yn wir mai "Blaguryn" yw y gair yn Zech. vi. 12. Ond rhaid cofio o hyd mai o'r cyfieithiad Groeg o'r Hen Destament, a elwir y Deg a Thriugain, y dyfyna awdwr yr Epistol bron bob amser. A'r gair sydd gan y Deg a Thriugain yn Zech. vi. 12 ydyw, nid "Blaguryn," ond "Gwawr;" a hwn ydyw y gair a ddefnyddir, mewn ffurf arall, gan awdwr yr Epistol yn yr adn. hon: "o Juda y mae ein Harglwydd ni wedi codi fel y wawr," gyda chyfeiriad amlwg at brophwydoliaeth Zechariah, lle y desgrifir y Messia fel Offeiriad ar ei frenhin-fainc.

**Tuag at offeiriadaeth**; yn ol y darlleniad cywir, "yn nghylch offeiriaid." Awgrymir fod yr Ysgrythyr yn gosod enwogrwydd ar Juda mewn ffordd arall, sef yn ei frenhinoedd.

**ADN. 15.**—Prawf arall ac eglurach eto fod cyfnewid yr offeiriadaeth yn cynwys newid yr oruchwyliaeth. Y prawf ydyw fod yr offeiriadaeth sydd yn ol urdd Melchisedec yn hollol wahanol, yn ei nodweddion neillduol, i'r offeiriadaeth sydd yn ol urdd Aaron, fel y dangosir yn yr adn. nesaf. Y pwnc o hyd yn yr adnodau hyn, o adn. 11 ymlaen, ydyw fod y cyfnewidiad yn yr offeiriadaeth o urdd Aaron i urdd Melchisedec, yr hyn a ddangosir yn y gymhariaeth rhwng Melchisedec a Christ yn nechreu y benod, yn cynwys symud ymaith yr hen gyfamod neu oruchwyliaeth a dygiad i mewn oruchwyliaeth neu gyfamod newydd. Felly yma. Ond barna lliaws o esbonwyr mai amcan yr adn. ydyw profi fod yr offeiriadaeth wedi newid. Ymddengys i mi fod hyn wedi ei brofi yn y gwahaniaeth rhwng Crist a Melchisedec, a byddai yn annaturiol i ni dybied fod yr awdwr, ar ol myned oddiwrth hyn at gyfnewidiad yr oruchwyliaeth yn adn. 12, yn dychwelyd at hyn yn yr adn. hon; yn enwedig pan y mae y peth wedi ei brofi i foddlonrwydd.

**ADN. 16.**—Yma dywedir beth yw y nodweddion gwahaniaethol yn offeiriadaeth Lefi ac yn offeiriadaeth Crist, y rhai sydd yn gwneyd cyfnewidiad yr oruchwyliaeth yn angenrheidiol. Yn gyntaf, yr oedd offeiriadaeth Lefi yn ol cyfraith, ac offeiriadaeth Crist yn ol nerth. Dywedodd yr awdwr o'r blaen mai *ar sail* yr offeiriadaeth y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl; dywed yn awr mai *yn ol* y gyfraith yr oedd yr offeiriadaeth. Y mae y ddau ddywediad yn hollol gyson. Yr offeiriadaeth roddodd ystyr ac amcan i'r oruchwyliaeth, a'r oruchwyliaeth oedd yn cario allan yr amcan hwnw i weithrediad. Yr oedd yr oruchwyliaeth yn cymmeryd y ffurf o gyfraith, nid i roddi awdurdod i'r offeiriadaeth (oblegid yr offeiriadaeth oedd yn rhoi awdurdod i'r gyfraith), ond i'w chadw mewn terfynau, i ddeffinio ei gweithrediad. Er angraifft, oni buasai am y gyfraith neu yr oruchwyliaeth lywodraethol, gallwn yn hawdd ddychymygu y posibilrwydd i offeiriadaeth Aaron naill ai codi yn raddol i ffurf fwy ysbrydol nes dyfod yn agos at offeiriadaeth Melchisedec ai ynte (yr hyn sydd yn fwy tebygol) dirywio gymaint nes myned yn debyg i'r hyn oedd offeiriadaeth yn y byd cenhedlig. Ond yr oedd y gyfraith yn ei chadw rhag dirywiad gormodol ar y naill law ac yn

ol cyfraith gorchymyn cnawdol, eithr yn ol nerth bywyd

---

ei rhwystro i ymddadblygu ar y llaw arall. Ar gyfer yr offeiriadaeth hon, yr hon oedd yn cael ei llywodraethu gan gyfraith, saif offeiriadaeth Crist, yr hon a lywodraethid yn unig gan ei nerth cynhenid ef ei hun. Ynddi hi ei hun yr oedd ei chyfraith. Am ei bod yn ol nerth personol Crist, nid oedd anghen cyfraith i'w chadw rhag dirywio, ac nid oedd cyfraith a allasai ei rhwystro i ymagor i berffeithrwydd. Yn ail, yr oedd y gyfraith a lywodraethai offeiriadaeth Aaron yn cynyrchu gorchymyn, a'r nerth a lywodraethai offeiriadaeth Crist yn cynyrchu bywyd. Ar yr olwg gyntaf, ymddengys yn fwy naturiol i ni olygu y bywyd hwn fel achos o'r nerth, ac nid fel ei effaith; oblegid mewn natur, bywyd sydd yn peri tŵf y llysiau a chadernid y pren. Ond y llall, mi a dybiaf, yw yr ystyr yn y lle hwn, am y rhesymau canlynol:—(1) Y mae yr ystyr hwn i'r gair "bywyd" yn anhysbys i'r hen ysgrifenwyr. Arferiad sydd wedi codi yn yr amseroedd diweddaraf hyn ydyw sôn am "fywyd" yn yr ystyr o achosydd cynhenid gweithrediad nerthol, fel pan y sonir am fywyd y greadigaeth. (2) Y mae cyd-rediad y ddau ymadrodd, "cyfraith gorchymyn" a "nerth bywyd," yn gofyn i ni ddeall y bywyd yn yr un berthynas â nerth ag y deallir y gorchymyn yn ei berthynas â chyfraith. Ond nis gellir golygu y gorchymyn fel achos o'r gyfraith, ac, am hyny, nid yr achos o'r nerth ydyw y bywyd. Rhaid i ni ddeall y gorchymyn fel effaith y gyfraith, a'r bywyd fel effaith y nerth. Golygiad lliaws o esbonwyr ydyw mai holl ddefodau a gosodiadau yr hen oruchwyliaeth sydd i'w ddeall wrth y gair "gorchymyn." Nis gallaf weled y buasai yr ystyr yna yn rhwymo yr awdwr i ddefnyddio y rhif lliosog, "gorchymynion." Gallai edrych ar yr holl orchymynion hyny fel un corph. Yr un pryd, gan mai yr offeiriadaeth yw y pwnc mewn llaw, gwell ydyw cyfyngu y gair gorchymyn at osodiad yr offeiriadaeth. Yr oedd offeiriadaeth Aaron dan lywodraeth cyfraith yr hon a'i gosododd yn ei swydd trwy orchymyn, nid oblegid teilyngdod y dyn. Gallai yr offeiriad fod yn ddyn anwybodus neu ynfyd neu annuwiol; ond nid oedd y naill na'r llall o'r diffygion personol hyn yn effeithio dim ar ei offeiriadaeth, yr hon a orphwysai ar orchymyn, ac yr oedd y rheswm dros y gorchymyn yn y gyfraith. Ond gosodwyd Crist yn Offeiriad yn rhinwedd y bywyd sydd yn codi o'i nerth personol ef ei hun. Y mae ei nerth yn cynyrchu gweithrediad, yni, cymundeb rhyngddo â'i bobl, cynhaliad ei eglwys yn y byd, cariad, hunan-aberthiad, eiriolaeth; ac y mae yr holl bethau bywydol a gogoneddus hyn yn yr Iesu yn cymmeryd y ffurf o offeiriadaeth, fel yr oedd y gorchymyn yn gwneyd Aaron yn offeiriad. (Nid diberygl fyddai cymharu y gair "bywyd" yn y lle hwn âg ymadrodd Aristotle, *energeia*. Y mae y gwahaniaeth yn annhraethol fwy na'r tebygolrwydd. Eto dichon y gallai, ond bod yn ofalus, gynorthwyo yr efrydydd.) Yn drydydd, nodwedd arbenigol y gorchymyn a wnaeth Aaron yn offeiriad ydyw cnawdolrwydd, a nodwedd arbenigol y bywyd a wnaeth Grist yn Offeiriad ydyw annherfynolrwydd. Y mae dau air Groeg yn y Testament Newydd a gyfieithir "cnawdol." Ystyr y naill *(sarkikos)* ydyw "yn perthyn i'r cnawd," "cyffelyb i'r cnawd;" ystyr y llall *(sarkinos)* ydyw "wedi ei wneuthur o'r cnawd." Ni ddywed yr awdwr fod y gorchymyn o ran ei natur yn perthyn i'r cnawd *(sarkikos)*; oblegid darlleniad y llawysgrifau henaf ydyw *sarkinos*, hyny ydyw, gorchymyn yr hwn y mae ei ddefnyddiau yn bethau materol, daearol. Er hyny, y mae yn syndod fod yr awdwr yn defnyddio y gair hwn am orchymyn Duw. Nid yw yr esboniad cyffredin, "gorchymyn sydd yn gosod dyn yn offeiriad *yn ol ei berthynas deuluaidd*," yn ddigonol i

annherfynol. Canys tystiolaethu y mae, offeiriad *wyt* ti yn 17
dragywydd yn ol urdd Melchisedec. Canys yn ddiau y mae 18
dirymmiad i'r gorchymyn sydd yn myned o'r blaen, o herwydd

---

gyfleu holl ystyr y gair. Golyga y gair, nid yn unig fod yr offeiriaid yn marw y naill ar ol y llall, ond hefyd fod y gorchymyn a'u gosododd yn eu swydd yn darfod ohono ei hun. Dywed Paul fod y ddeddf yn wan *trwy* y cnawd, ond ni ddywed ei bod yn wan ynddi ei hun. I'r gwrthwyneb, y mae y ddeddf yn ysbrydol, a'r gorchymyn y sonia ef am dano yn gyfiawn, sanctaidd a da. Ond yn mynwes y ddeddf ysbrydol a'r gorchymyn sanctaidd y mae offeiriadaeth, yr hon y mae y gorchymyn a'i sefydlodd yn frau a darfodedig, fel peth wedi ei gyfansoddi o gnawd. Gwel ix. 10. Golyga y gair "cnawdol" freuolder a marwolaeth, fel y dywed Paul "na ddichon cnawd a gwaed etifeddu teyrnas Dduw." Gwel 1 Cor. 35—50. Ar y llaw arall, y mae bywyd yr offeiriadaeth sydd yn codi o nerth yn annherfynol ac anfarwol; neu, yn hytrach, i gyfieithu yn fwy cywir, "yn annatodol." Nid yn unig nid yw yn darfod ohono ei hun, fel y gorchymyn, ond nis gall neb arall ei ddinystrio trwy nerth cryfach na'r nerth sydd yn ei gynyrchu ef, ac, am hyny, nid oes un bywyd all ei oroesi. Y casgliad yr arweinia yr awdwr ni iddo ydyw fod y gorchymyn brau yn ysgubo ymaith gydag ef ei hun y gyfraith ar yr hon y safai, a bod y bywyd annatodol sydd yn offeiriadaeth Crist yn parhau tra y bydd y nerth personol a'i cynyrchodd mewn bod.

**ADN. 17.**—Y mae yr hyn a ddywedwyd am barhad offeiriadaeth Crist yn gyson â thystiolaeth y brophwydoliaeth a ddyfynwyd eisoes, sef Salm cx. 4.

**Tystiolaethu y mae**; neu, yn ol y darlleniad cywir, "tystiolaethir am dano."

**ADN. 18.**—Ar y llaw arall, os gwir y parha Crist yn Offeiriad yn dragywydd, y mae yr hyn a ddywedwyd am y gorchymyn, ei fod yn gnawd, yn wir hefyd. Prawf o'i freuolder ydyw yr hyn a ddywedir yn yr adn. hon. Y prawf ydyw gwendid ac afles y gorchymyn. Nid ei ddileu a gafodd, megis trwy drais. Trengodd ohono ei hun. Gadawyd iddo fyw tra gallai. Nis gellir dyddio ei farwolaeth, a dyweyd i'r hen oruchwyliaeth ddybenu y diwrnod y ganed Iesu, neu y diwrnod y bu farw ar y groes, neu ar ddydd y Pentecost. Y mae pob un o'r dyddiadau hyn yn gywir, ac nid oes un ohonynt yn fwy cywir na'u gilydd. Un o amcanion yr Epistol hwn yw cynorthwyo yr Hebreaid Cristionogol i sylweddoli y ffaith ei bod hi wedi trengu. Teimlent hwy tuag ati yn debyg fel y sieryd cyfaill neu berthynas, "Yr wyf yn *methu credu* fod fy anwyl-ddyn wedi marw." Ond diflanodd yr hen oruchwyliaeth yn raddol, ond yn llwyr, fel y diflana seren yn y wawrddydd. Dichon fod hyn yn meddwl yr awdwr pan y dywed fod ein Harglwydd wedi codi fel y wawr (adn. 14).

**Dirymiad**; yn hytrach, "diddymiad." Yr ystyr ydyw fod y gorchymyn a osododd yr archoffeiriad yn ol urdd Aaron yn ei swydd yn syrthio i'r llawr, yn cael ei fwrw allan (dyna air Chrysostom,) er mwyn rhoi lle i beth gwell.

**I'r gorchymyn sydd yn myned o'r blaen**; yn fwy llythyrenol, heb y fannod: "i orchymyn oedd yn myned o'r blaen;" hyny yw, yr oedd y gorchymyn yn ateb dyben fel parotoad ar gyfer y sylwedd, ac fel y mae goleu leuad yn well na bod hebddo, hyd oni chyfodo haul. Dyma un peth sydd yn gynwysedig yn y gair "cnawdol." Fel y dywed Paul, "yn gyntaf yr anianol, wedi hyny yr ysbrydol," i'r un perwyl y dywed awdwr yr

19 ei lesgedd a'i afles. Oblegid ni pherffeithiodd y gyfraith ddim,
namyn dwyn gobaith gwell i mewn *a berffeithiodd;* trwy yr

---

Epistol, fod y gorchymyn yn barotoad ar gyfer y bywyd, yr hwn ni ddilynir gan ddim sydd fwy nag ef.

**Oherwydd ei lesgedd a'i afles.** Dyma ddau nodwedd arall o'r hyn sydd gnawdol. Yn gyntaf, y mae y cnawd ynddo ei hun yn wan; fel y dywed Paul fod hyd yn nod y ddeddf yn wan yn ei gweithrediad oblegid gwendid y cnawd. Felly yma, y mae gwendid y gorchymyn, yr hwn sydd gnawd, yn gwanhau ac o'r diwedd yn diddymu y gyfraith yn yr ystyr y defnyddia yr awdwr y gair "cyfraith," sef goruchwyliaeth. Yn ail, y mae y cnawd yn aflesol. Fel y dywed Crist, geiriau yr hwn oedd, mae yn debygol, yn meddwl yr awdwr, "y cnawd nid yw yn lleshau dim." Gwel xiii. 9; Ioan vi. 63; Col. ii. 16—23.

**ADN. 19.**—Prawf ydyw y rhan gyntaf o'r adn. o lesgedd ac afles y gorchymyn. Y prawf ydyw fod y gyfraith ei hun, ar yr hon y mae y gorchymyn hwnw yn gorphwys, yn methu cyrhaedd amcan offeiriadaeth, sef perffeithio yr addolwr, yn yr ystyr sydd i'r "perffeithiad" yn adn. 11. Gochelwn dybied mai eglurhad ar ystyr yr adn. flaenorol sydd yma. Prawf ydyw; oblegid gwendid y gyfraith ydyw yr achos o wendid y gorchymyn.

**Namyn dwyn gobaith gwell i mewn a berffeithiodd.** Felly hefyd y C. A. S. Y mae y cyfieithiadau Saesneg a Chymraeg yn dilyn Beza, yr hwn yw y cyntaf, can belled ag y sylwais, i gynyg rhoi i mewn y geiriau "a berffeithiodd," oddiwrth y frawddeg flaenorol. Ond y mae yn sicr nad hwn yw yr ystyr, am y rheswm nad ydyw dyweyd fod dwyn gobaith gwell i mewn yn perffeithio yn profi o gwbl lesgedd ac afles y gorchymyn; ac y mae y gair "oblegid" yn gofyn i ni olygu mai prawf ydyw y rhan gyntaf o'r adn. o'r hyn a ddywedwyd yn yr adn. flaenorol. Golygiad a fabwysiedir gan amryw esbonwyr ydyw yr un a ganlyn, sef rhoi i mewn, nid "a berffeithiodd," ond "ydyw," fel hyn: "canys ni pherffeithiodd y gyfraith ddim, ond dygiad i mewn obaith gwell ydyw hi" (sef y gyfraith). Felly Calvin: fel pe amcan yr awdwr fyddai cydnabod fod rhyw gymaint o ddaioni yn y gyfraith. Ond y mae dwy wrthddadl yn erbyn y golygiad hwn. (1) Golyga y gair a gyfieithir "dwyn i mewn" fod y peth yn cael ei ddwyn i mewn yn ychwanegol at rywbeth arall; ond ni fyddai synwyr mewn dyweyd fod y gyfraith yn dwyn i mewn obaith gwell yn ychwanegol at ddwyn ei hun i mewn (2) Y mae dyweyd fod y gyfraith wedi dwyn i mewn yr efengyl yn hollol annaturiol a gwahanol i ddim a draethir yn yr Epistol hwn am dani. Awgrymir yr eglurhad mwyaf boddhaol gan y cyferbyniad sydd rhwng diddymiad y gorchymyn oedd yn myned o'r blaen, a dygiad i mewn y gobaith gwell. Rhaid rhoddi y geiriau "y mae" yn adn. 19, y rhai sydd eisoes yn adn. 18, ac er mwyn eglurder gwell fydd gosod y rhan gyntaf o adn. 19 mewn cromfachau, fel hyn: "Canys tra, ar y naill law, y mae diddymiad gorchymyn sydd yn myned o'r blaen, oherwydd ei lesgedd a'i afles, (canys ni pherffeithiodd y gyfraith ddim,) y mae, ar y llaw arall, yn ychwanegol ddygiad i mewn obaith gwell." Nid yw y gwrthddadleuon sydd yn erbyn y golygiadau eraill yn cyffwrdd â hwn, ac y mae y cyferbyniad sydd rhwng "gorchymyn *yn myned o'r blaen*" a "dygiad i mewn *yn ychwanegol*" yn ddadl gref o'i blaid.

**Dwyn i mewn;** yn gywirach, "dwyn i mewn yn ychwanegol," sef yn ychwanegol at y gyfraith. Gadawyd y gyfraith i fyw tra y gallai Diddymwyd hi trwy ddwyn gobaith gwell i mewn yn ychwanegol. Dyma angraifft o'r hyn a elwir heddyw "*the survival of the fittest.*" Golyga

hwn yr ydym yn nesâu at Dduw. Ac yn gymmaint nad heb 20
lw *y gwnaethpwyd ef yn Offeiriad:* (Canys y rhai hynny yn wir 21
ydynt wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw: ond hwn trwy
lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, Tyngodd yr Arglwydd, ac
ni bydd edifar ganddo, Ti *sydd* Offeiriad yn dragywydd yn ol

---

"dwyn i mewn" gludo i'r byd hwn at ddynion gan Dduw; ac effaith dwyn i mewn obaith i ni ydyw fod ein gobaith ninau yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen.

**Gobaith gwell.** Esbonia rhai yr ymadrodd fel yn golygu "dygiad i mewn rywbeth gwell, sef gobaith." Felly Alford. Ond gwell genyf esboniad Chrysostom, fod yr awdwr yn cyferbynu gobeithion daearol yr hen oruchwyliaeth â gobeithion gwell a mwy ysbrydol yr efengyl, y rhai a ddygir i mewn yn ychwanegol at y lleill. Hapus iawn yw sylw Hiraethog mai Epistol y pethau gwell ydyw yr Epistol hwn. Ond nis gallaf lai na meddwl fod yr ymadrodd, "gobaith gwell," yn golygu, nid yn gymaint obeithion gwell, hyny yw, wrthrychau rhagorach i obeithio am danynt, ond gobaith sicrach am feddiant ohonynt. Yr oedd yn anhawdd i ddynion obeithio yn gryf a thawel dan yr hen oruchwyliaeth, a hyny am ddau reswm. Yn gyntaf, yr oedd cyflawniad yr addewidion yn ymddibynu ar amodau anhawdd eu cadw yn hollol ddiwyro. Gallai yr addolwr a'r offeiriad fethu mewn defod, ac yr oedd yn anhawdd iawn i'r naill na'r llall fod yn sicr ar unrhyw amser nad oedd wedi cyflawni rhyw drosedd fyddai yn anafu yr holl wasanaeth. Yn ail, yr oedd y datguddiad o ddaioni a maddeugarwch Duw yn aneglur. Dan yr efengyl y mae gobaith yn gryfach; oblegid yr unig amod o gyflawniad yr addewidion ydyw ffydd, ac y mae y datguddiad o gariad Duw yn oleu a chadarn. Y mae hyn yn arwain yn naturiol at y pwnc sydd yn yr adnodau nesaf.

**ADN. 20—ADN. 22.**—Rhaid cyssylltu y rhan gyntaf o'r ugeinfed adn. â'r rhan gyntaf o'r eilfed ar hugain: "yn gymaint nad heb lw, o gymaint â hyny y gwnaethpwyd," &c. Gellir rhoi y cwbl sydd *rhwng* y geiriau hyn mewn cromfachau. Ond y mae cyssylltiad yr adnodau â'r hyn sydd yn myned o'r blaen yn fwy anhawdd ei benderfynu. Y golygiad cyffredin ydyw fod yr awdwr yn crybwyll rheswm newydd i brofi rhagoriaeth offeiriadaeth Crist ar offeiriadaeth Lefi. Y rheswm ydyw fod Crist yn offeiriad trwy lw. Ond ymddengys i mi fod amcan yr adnodau yn cael ei grybwyll gan yr awdwr yn hollol eglur yn adn. 22, sef fod Iesu yn Fachniydd *cyfamod* gwell, nid bod ei offeiriadaeth ynddi ei hun yn well; oblegid y mae hyny eisoes wedi ei brofi. Prawf o ragoriaeth y *cyfamod* ydyw yr hyn a ddywedir am Grist wedi ei wneyd yn Offeiriad trwy lw, yn adn. 21. Hyd yn hyn gelwir yr hen oruchwyliaeth gan yr awdwr yn "gyfraith," a seilir yr offeiriadaeth ar "orchymyn." Ond y mae y llw a osododd Grist yn Offeiriad yn dwyn i'n hystyriaeth syniad newydd, sef fod yr hen oruchwyliaeth a'r oruchwyliaeth newydd yn fwy na "chyfraith." Y maent yn gyfamodau, ond y mae un o'r ddau gyfamod yn cynwys llw a machniydd, tra nad oes na llw na machniydd yn y llall. I'r graddau, gan hyny, y mae llw yn dyfod i mewn, i'r graddau hyny y mae y cyfamod yn well; a hyn, mi a debygwn, ydyw ymresymiad yr adnodau.

Yn adn. 20 y mae y cyfieithiad Cymraeg a'r C. A. S. yn rhoi i mewn eiriau nad ydynt yn y gwreiddiol, a diau fod yn rhaid ychwanegu rhyw eiriau i wneyd yr ymadrodd yn gyflawn. Ond pa eiriau, sydd amheus. Rhoddant hwy i mewn y geiriau, "y gwnaethpwyd Iesu yn Offeiriad," y rhai a gânt yn adn. 21. Y mae hyny yn bosibl. Golyga hyn fod yr awdwr

22 urdd Melchisedec:) Ar destament gwell o hynny y gwnaeth-

---

yn bwriadu dyweyd, "ac yn gymaint nad heb lw y gwnaethpwyd Iesu yn Offeiriad, o gymaint â hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachniydd cyfamod gwell;" ond iddo adael y rhan gyntaf o'r frawddeg yn anorphenol er mwyn dwyn i mewn y sylw fod yr offeiriaid Iuddewig wedi eu gwneyd yn offeiriaid heb lw. Yr unig wrthddadl sydd genyf yn erbyn y golygiad hwn ydyw ei fod yn tori ymaith bob cyssylltiad rhwng yr adn. hon a'r adn. flaenorol, a hyny pan y mae angen rhywbeth ychwanegol yn yr adn. hono i ddangos pa fodd y mae y gobaith yn well. Oblegid hyn tueddir fi i roi i mewn yn adn. 20, nid "y gwnaethpwyd ef yn Offeiriad," ond yr un gair ag a roddir yn adn. 19, sef "ydyw," fel hyn: "ond y mae yma yn ychwanegol ddygiad i mewn obaith gwell, trwy yr hwn yr ydym yn nesau at Dduw; ac yn gymaint nad *ydyw* (sef nad ydyw y gobaith gwell yn cael ei ddwyn i mewn) heb lw," &c. Os felly, amcan yr adnodau ydyw dyweyd fod rhagoriaeth y gobaith, yn gymaint â'i fod yn seiliedig ar lw, yn profi rhagoriaeth y cyfamod. Gan hyny, prawf ydyw adn. 21 fod y gobaith gwell yn gwaelodi ar lw; oblegid y mae offeiriadaeth Crist trwy lw, ac unig sylfaen gobaith pechadur ydyw yr offeiriadaeth. Barna rhai y dylid rhoi i mewn yn adn. 20 y geiriau "y gwnaethpwyd Iesu yn Fachniydd" o adn. 22. Ond nis gall hyny fod, gan fod machniaeth yr Iesu yn cael ei brofi fel y peth neillduol hwnw sydd yn cyfansoddi rhagoriaeth cyfamod a sylfaenir ar lw.

**Heb lw.** Y mae y ffaith fod Duw wedi gosod Aaron yn ei swydd heb lw yn tynu sylw yr awdwr fel hynodrwydd; oblegid yr oedd Dafydd wedi ei osod yn frenhin trwy lw. Ni ddarlunir brenhiniaeth Crist megis yn dyfod i mewn *yn lle* brenhiniaeth Dafydd, eithr desgrifir Crist fel mab ac etifedd Dafydd. Ond y mae offeiriadaeth Aaron yn cilio i wneyd lle i offeiriadaeth Crist; ac y mae absenoldeb y llw yn ngosodiad Aaron yn cael ei esbonio gan awdwr yr Epistol fel yn gwneyd diddymiad ei offeiriadaeth yn bosibl. Ar y llaw arall, y mae fod Crist wedi ei osod trwy lw yn cynwys na newidia Duw y gosodiad byth: "Ni bydd edifar ganddo." Fel y gwelsom wrth sylwi ar vi. 17, y mae llw Duw yn gwneuthur ei addewid yn ddiamodol, fel cynghor neu benderfyniad yr hwn y mae yn rhaid ei gyflawni.

**Ar destament gwell.** Ystyr y gair *diathēkē*, yr hwn a gyfieithir yma yn "destament," yn nghyfieithiad y Deg a Thriugain o'r Hen Destament ydyw "cyfamod." Gair arall a arferid gan y Groegiaid eu hunain am "gyfamod" *(sunthēkē)*. Dichon fod y cyfieithwyr yn teimlo nad gweddus fyddai defnyddio y gair hwn am unrhyw berthynas rhwng Duw a dynion, am ei fod yn golygu cytundeb rhwng dwy blaid gydradd â'u gilydd, tra y golyga y gair a ddewisasant hwy drefniad a osodir gan yr uwch ar yr is. Dichon fod yr un gwrthwynebrwydd i ystyried addewidion grasol Duw i ddyn yn gyfamod rhwng pleidiau wedi dylanwadu peth ar gyfieithwyr y Testament Newydd drachefn i'r iaith Ladin. Mor fore â Tertullian cawn yr enw "Testament" ar y casgliad o lyfrau a ystyrid yn ysbrydoledig; dyma yr enw yn y cyfieithiad cyntaf i'r Lladin, sef yr *Itala*, a mabwysiadwyd ef gan Jerom yn ei gyfieithiad yntau, y *Vulgate*. Eglura Lactantius y rheswm *(Inst.* xx. 4), sef am fod awdwr yr Epistol at yr Hebreaid (ix. 16, 17) yn galw y cyfamod yn "gymunrodd" ddiweddaf Crist i'w bobl, ac mai trwy ei farwolaeth y daw y cyfamod, megis pob cymunrodd, i rym a gweithrediad. Barna Dr. Hatch *("Biblical Greek,"* tud. 48) mai "cyfamod," ac nid "cymunrodd," ydyw ystyr y gair "Testament" yn y cyfieithiadau Lladin hyn. Yr wyf yn methu cael fod hyny yn gywir. Gellid tybied fod

pwyd Iesu yn Fachnïydd. A'r rhai hynny yn wir, llawer sydd 23

---

geiriau Lactantius yn ddigon i'w wrthbrofi. Pa fodd bynag, o gyfieithiad Jerom y daeth y gair "testament" i'r Beibl Cymraeg. Gall y darllenydd weled ar un olwg, oddiwrth y daflen ganlynol, pa fodd y mae y gwahanol gyfieithiadau, sydd wedi dylanwadu fwyaf ar y Bibl Cymraeg, yn troi y gair *diathēkē*:—

| *Enw y Cyfieithydd.* | VII. 22. | VIII. 6. | IX. 15. | IX. 16. |
|---|---|---|---|---|
| Jerom ... .. | Testament | Testament | Testament—Testament | Testament |
| Erasmus .. | Testament | Testament | Testament—Testament | Testament |
| Beza, 1556 .. | Cyfamod | Cyfamod | Cyfamod—Cyfamod | Testament |
| Beza, 1565 ... | Cyfamod | Cyfamod | Cyfamod—Testament | Testament |
| Geneva, 1557 | Cyfamod | Cyfamod | Cyfamod—Testament | Testament |
| Geneva, 1560 | Testament | Testament | Testament—Testament | Testament |
| Yr Esgob Davies, 1567 | Testament | Testament | Testament—Testament | Testament |
| Yr Esgob Morgan, 1588 | Testament | Cyfamod | Cyfamod—Cyfamod | Testament |
| Yr Esgob Parry, 1620 | Testament | Cyfamod | Cyfamod—Cyfamod | Testament |

**Yn Fachniydd.** Ystyr y gair gwreiddiol ydyw dyn a fyddo yn taro *ei law* fel arwydd ei fod yn ymgymmeryd â rhyw gyfrifoldeb dros ddyn arall. Gallem feddwl, wrth hyny, mai syniad yr adn. ydyw, gan mai nid heb lw y daw y gobaith gwell i mewn, fod hyny yn cynwys fod gosodiad Iesu i fod yn Offeiriad gan Dduw yn fath o wystl i ni o gyflawniad yr addewidion. O dan yr hen gyfamod nid oedd na llw na machniydd, a hyny oblegid fod yr addewidion yn amodol ac yn ymddibynu am eu cyflawniad ar gyflawniad pob defod yn hollol yn ol y gorchymyn gan y bobl. Yn y cyfamod a wnaeth Duw âg Abraham, yr oedd llw, ond nid oedd machniydd. Yn y cyfamod gwell y mae llw a machniydd. Yr achos o'r gwahaniaeth ydyw hwn. Yn y llw i Abraham cyfryngodd yr Arglwydd, hyny yw, gosododd ei hun rhwng Abraham âg ef ei hun; ac felly nid oedd eisiau machniydd, na lle iddo. Ond yn y cyfamod yn yr hwn y gosodir Crist yn Offeiriad, y mae Duw yn tyngu i Grist, nid i'r pechadur, gan ddywedyd, "*Tydi* wyt offeiriad yn dragywydd." Pa beth, gan hyny, a ddaw o hyder y pechadur? Yr ateb ydyw fod gosodiad Iesu yn Offeiriad yn wystl neu fachniaeth ar ran Duw i ni y cyflawna Duw ei addewid, ac y gallwn ninau afaelyd yn y gobaith gwell. Am mai i Grist y gwnaeth Duw y llw y mae machniydd yn angenrheidiol i ni; a'r machniydd hwnw i ni ydyw Iesu ei hun, yn ei fywyd ar y ddaear, ei angau a'i fynediad i mewn i'r gwir gysegr fel Offeiriad. Y dyn Crist Iesu yw y prawf goreu o wirionedd Cristionogaeth, ac offeiriadaeth Iesu yw y prawf goreu o ragoriaeth y cyfamod newydd. Defnyddir yr adn. hon gan Cocceius, Turretin, a lliaws mawr o dduwinyddion ar eu hol, megis Charles yn y *Geiriadur*, i brofi athrawiaeth Machniaeth Crist, wrth yr hyn y golygant fod Crist yn Fachniydd dros ddynion, hyny yw, ei fod wedi ymgymmeryd ar eu rhan â chyflawni yr holl amodau a ofynid oddiwrthynt. Pell ydym oddiwrth wadu yr athrawiaeth fod Crist wedi dyoddef *dros* bechaduriaid, ond peth arall ydyw dal mai at ddyoddefaint Crist dros ddynion y cyfeiria yr awdwr yn yr adn. hon. Dadleua Dr. Thomas yn gryf o blaid y golygiad, a sylwa fel hyn: "Yn gymaint ag mai peth priodol iddo fel Offeiriad ydyw ei fod yn Fachniydd: a bod Offeiriad, yn ol natur ei swydd, yn un sydd yn gweinyddu dros ddynion yn y pethau hyny ag sydd yn uniongyrchol rhyngddynt â Duw, y mae yn eglur y rhaid ei fod

wedi eu gwneuthur yn offeiriaid, o herwydd lluddio iddynt gan
24 farwolaeth barhau: Ond hwn, am ei fod yn aros yn dragywydd,
25 sydd ag offeiriadaeth dragywyddol ganddo. Am hynny efe

---

megis Machniydd, yn arbenig i'w olygu megis un dros ddynion i Dduw." Fe welir fod Dr. Thomas yn myned ymhellach na Turretin, yr hwn a ddywed fod Crist yn Fachniydd dros Dduw tuag at ddynion yn gystal â thros ddynion tuag at Dduw; ond, yn ol Dr. Thomas, nis gall fod machniydd dros Dduw tuag at ddynion. Heblaw hyny, ai yr un peth ydyw bod yn offeiriad a bod yn fachniydd? Onid ydyw machniaeth yn tybied llw? A fyddai gwerth mewn ymgymmeryd i weithredu dros arall, os nad ydyw yr ymgymmerydd yn gwystlo yr hyn oll a fedd wrth ymrwymo i gyflawni diffyg yr un arall? Ond nid yw offeiriadaeth yn tybied llw. Yr oedd Aaron yn offeiriad heb lw. Drachefn, amcan eglur yr awdwr yn yr adnodau hyn ydyw calonogi yr Hebreaid i lynu wrth y gobaith gwell, am fod offeiriadaeth Crist yn offeiriadaeth well. Ond yn mha beth y mae hi yn offeiriadaeth well? Etyb yr awdwr, am ei bod trwy lw; ac oblegid y llw y mae Iesu yn Fachniydd. Ond llw Duw i Grist ydyw, nid llw Crist i Dduw. Cadernid addewid Duw a ddangosir, nid sicrwydd cyflawniad yr amodau gan Grist dros ddynion. Am y rhesymau hyn, gorfodir fi i gredu nad yr athrawiaeth fod Crist yn Fachniydd dros ei bobl a ddysgir yn yr adn. hon, ond yn hytrach fod Iesu, yn ei ddynoliaeth ac yn ffeithiau hanesyddol ei fywyd, ei farwolaeth, ei esgyniad, yn fachniydd dros Dduw i ddynion. Dywed Dr. Thomas, ymhellach, mai machniydd ydyw un yn ymrwymo i ateb gofynion dros arall mewn amgylchiadau ag y byddo yn bosibl i'r arall hwnw fod ei hunan yn analluog, neu ynte yn anffyddlawn, i'w cyfarfod. "Y mae felly yn tybied yn bosibl, ar du yr hwn y machnier drosto, peth ag sydd yn *hollol anmhosibl* gyda golwg ar Dduw." Rhaid cydnabod gwirionedd hyn. Ond y mae yn bosibl i ddynion fethu credu nas gall Duw fod yn analluog neu yn anffyddlawn. I gyfarfod eu hanghrediniaeth hwy, gesyd Iesu yn wystl drosto ei hun iddynt, am yr un rheswm ag y cymer ei lw i gadarnhau ei addewid, fel y sylwa Dr. Thomas ei hun ar vi. 18.

**ADN. 23.**—Daw yr awdwr bellach at yr hyn y mae y gymhariaeth rhwng Crist a Melchisedec yn fwyaf arbenigol yn ddangos, ac at yr hyn hefyd y mae yr adnodau blaenorol yn arwain iddo, sef fod Crist yn Offeiriad tragwyddol.

**A'r rhai hyny, yn wir, llawer sydd wedi eu gwneuthur yn offeiriaid**; yn llythyrenol, "a hwynt-hwy ydynt wedi myned yn offeiriaid mwy mewn nifer:" hyny ydyw, o'u cychwyniad yn Aaron hyd eu diweddiad yn ninystr Jerusalem, pan, yn ol Josephus, yr oedd tri a phedwar ugain wedi bod yn arch-offeiriaid.

**Barhau**; hyny yw, yn eu hoffeiriadaeth. Yr oedd terfyniad bywyd yn terfynu y swydd. Ystyr y gair a gyfieithir "parhau" yma ydyw "aros yn ymyl rhywun," er angraifft i'w gynorthwyo. Felly y dywed Paul yn Phil. i. 25, "mi a wn yr arosaf, ac yr *arosaf gyda* chwi oll, *er eich cynydd*." Priodol, gan hyny, ydyw y gair gyda golwg ar yr offeiriaid. Dengys siomedigaeth yr addolwyr, y naill oes ar ol y llall, pan y deallent fod yr arch-offeiriad wedi marw.

**ADN. 24.**—Newidir y gair gwreiddiol o "aros gyda" i "aros;" oblegid cyfeirir yn awr at barhad Crist mewn bywyd, mewn cyferbyniad i farwolaeth yr offeiriaid Iuddewig.

**Offeiriadaeth dragwyddol**; yn hytrach, "y mae ganddo yr offeiriadaeth yn un dragwyddol." Ystyr y gair a gyfieithir "tragwyddol" ydyw "offeiriadaeth nas gellir ei threisio neu ei chyfnewid." Cynygia rhai

14 allan o'r ffordd, ond yr iachâer efe yn hytrach. Dilynwch
heddwch â phawb, a sancteiddrwydd, heb yr hwn ni chaiff neb
15 weled yr Arglwydd: Gan edrych yn ddyfal na *bo* neb yn pallu
oddi wrth ras Duw; rhag bod un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu
16 i fynu, *ac* yn peri blinder, a thrwy hwnnw llygru llawer; Na
*bo* un putteiniwr, neu halogedig, megis Esau, yr hwn am un

---

**ADN. 14.—Dilynwch**; yn llythyrenol, "erlynwch," "ymegniwch," "ymdrechwch sicrhau." Gwel 1 Cor. xii. 31, lle y mae "deisyfwch" yn rhy wan; 1 Pedr iii. 11, "dilyned ef."

**Heddwch.** Yr oedd yr Iuddewon yn hynod o gwerylgar, ac yn arbenig felly yn y blynyddoedd cyn dinystr Jerusalem. Os at yr eglwys yn Jerusalem yr ysgrifenwyd yr Epistol, dichon i anogaeth yr awdwr yn yr adn. hon yn anad dim dueddu y Cristionogion i fyned allan o'r ddinas, yr hon oedd yn llawn o bleidiau ymladdgar ac annuwiol, i Pella yn Decapolis, fel y dywed Eusebius. Yr oedd yn anmhosibl cadw tangnefedd heb golli sancteiddrwydd yn Jerusalem.

**A phawb**; hyny ydyw, nid â'u gilydd yn unig. Gwel Rhuf xii. 18.

**A sancteiddrwydd**; hyny ydyw, nid oeddent i aberthu sancteiddrwydd er mwyn heddwch.

**Yr Arglwydd.** Ymddengys i mi mai Crist a olygir, gyda chyfeiriad at ix. 28. Fe'i gwelir ef er iachawdwriaeth gan ei bobl yn ei ail ymddangosiad, ond nid ar wahan oddiwrth sancteiddrwydd. Rhaid fod gwaed Crist wedi gwneyd ei waith arnom. Y mae Crist wedi myned i'r cysegr nefol i gael i ni dragwyddol ryddhad, ac esboniad ar natur y rhyddhad hwnw ydyw "sancteiddrwydd;" oblegid rhyddhad ydyw o gaethiwed pechod ac oddiwrth euogrwydd. "Gweled yr Arglwydd" fydd cael ei ffafr byth; ac y mae ei ffafr ef yn fwy peth na heddwch pawb hebddo.

**ADN. 15.**—Dywed yr adn. hon pa fodd y maent i ddilyn heddwch a sancteiddrwydd, yn enwedig yn eu plith eu hunain fel eglwys.

**Pallu.** Yn Deut. xxix. 18, o'r lle y mae yr awdwr yn dyfynu, y gair ydyw "troi oddiwrth yr Arglwydd." Newidia yr awdwr y gair er mwyn defnyddio gair tynerach, ac er mwyn dwyn i mewn gymhelliad i'r Hebreaid i wylio dros eu gilydd; ac ystyr y gair a arfera yma ydyw "syrthio yn fyr o gyrhaedd gras Duw," hyny ydyw, y fendith sydd wedi ei haddaw, yr orphwysfa sydd yn ol. Nid yw yr adn. yn cyffwrdd dim â'r cwestiwn o'r posibilrwydd i ddyn gwympo o sefyllfa o iachawdwriaeth. Defnyddia yr amseriad presenol yn y gwreiddiol i awgrymu mai gwaith graddol ydyw syrthio yn fyr.

**Gwreiddyn chwerwedd**; nid "gwreiddyn chwerw," oblegid nid melus yw gwreiddyn y coed afalau; ond "gwreiddyn y mae ei ffrwyth yn chwerw." Ac felly y dywedir yn Deut. xxix. 18, "rhag bod yn eich mysg wreiddyn yn dwyn gwenwyn neu wermod." Sylwa Westcott mai dyn peryglus, ac nid athrawiaeth beryglus, a olygir.

**Llawer**; yn hytrach, "y lliaws;" hyny ydyw, yr holl eglwys. Cyfeiriad at Deut. xxix. 18, "rhag bod yn eich mysg ŵr neu wraig, neu deulu, neu lwyth." Y mae y drwg yn ymledu i'r teulu ac i'r llwyth.

**ADN. 16.—Puteiniwr**; nid yn yr ystyr o encilio oddiwrth Dduw, yr ystyr sydd i'r gair yn yr Hen Destament; ond yn llythyrenol, eto yn cymmeryd i mewn bob math o aflendid, fel yn Lef. xviii.; Matt. v. 32. Gwel xiii. 4; 1 Cor. vi. 9.

**Halogedig.** Prin y mae y gair hwn yn gosod allan yr ystyr. Golyga y gair gwreiddiol, yn llythyrenol, "y neb a anturia fyned i unrhyw fan;"

saig o fwyd a werthodd ei enedigaeth-fraint. Canys chwi a 17
wyddoch ddarfod wedi hynny hefyd ei wrthod ef, pan oedd efe
yn ewyllysio etifeddu y fendith: oblegid ni chafodd efe le i

---

ac felly ei ystyr yw, dyn nad oes un lle na neb yn gysegredig yn ei olwg. Hwn oedd ysbryd Esau; oblegid gwerthodd ei hawl i fendith y cyfamod am un saig o fwyd. "Wele fi yn myned i farw, a pha les a wna yr enedigaeth-fraint hon i mi?" Fel pe byddai ei farwolaeth yn rhoi pen ar ei obeithion! Nid esgynai ei fryd i'r byd ysbrydol. Yr oedd heb barch i bethau cysegredig; "*profane*," "*the secular spirit.*"

**Megis.** Y mae yn amheus a ydyw yr awdwr yn bwriadu dyweyd fod Esau yn buteiniwr yn gystal â bydol-ddyn. Nid oes dim yn Llyfr Genesis yn awgrymu ei fod yn ddyn aflan; ond y mae hyny yn nhraddodiadau diweddarach yr Iuddewon. Cawsom angreifftiau eisoes o'r awdwr yn derbyn rhai o'r traddodiadau Iuddewig. Ond gan mai at fydolrwydd Esau y cyfeiria yr adnodau nesaf, gwell ydyw y dybiaeth nad oedd yr awdwr yn amcanu i'r gair "megis" olygu mwy na bod Esau yn esampl o'r ysbryd daearol nad yw yn cyfrif dim yn sanctaidd.

**Ei enedigaeth-fraint**; yr hon a berthynai iddo fel y mab hynaf. Cymer yr awdwr y syniad mai y mab hynaf oedd i etifeddu y cyfamod a'i fendithion neillduol allan o rediad cyffredinol yr hanes. Gwel Gen. xxv. 31; Deut. xxi. 17.

**ADN. 17.**—Er fod Esau yn diystyru yr enedigaeth-fraint, dymunai etifeddu y fendith. Rhaid gwahaniaethu, gan hyny, rhwng yr enedigaeth-fraint a'r fendith. Cynwysa yr enedigaeth-fraint yr addewid a roddasai Duw i Abraham trwy lw ar Moriah, "Yn dy hâd di y bendithir holl genhedloedd y ddaear." Cynwysai y byddai Duw Abraham a Duw Isaac yn Dduw i'r neb a'i hetifeddai. Nid oedd yr enedigaeth-fraint yn ymddybynu ar fendith Isaac. Nis gallai Esau ei cholli ond yn unig trwy ei weithred fwriadol ef ei hun. Nid gwir a ddywedodd efe am Jacob, "dug fy ngenedigaeth-fraint." Ond y mae Esau ei hun yn gwahaniaethu rhwng yr enedigaeth-fraint a'r fendith, Gen. xxvii. 36; ac y mae yn eglur oddiwrth eiriau Isaac wrth fendithio y ddau fab mai cyfoeth daearol a gynwysai y fendith, ac mai rhagoriaeth bendith y mab hynaf, yr hon a *ddygodd* Jacob oddiar Esau, oedd arglwyddiaeth ar ei frodyr. Ystyr yr hyn a ddywed yr awdwr yn yr adn. hon ydyw fod Esau, trwy ddiystyru a gwerthu y peth mwyaf, wedi colli hefyd y peth lleiaf, yr hwn a ddymunai, fel cosbedigaeth am hyny.

**Ei wrthod ef**; hyny ydyw, yn ei gais am y fendith. Teimlai Isaac nad oedd bosibl dadwneyd y weithred o fendithio Jacob. "Bendigedig hefyd fydd efe." Gen. xxvii. 33. Golygai y tad nad oedd efe ond cyfrwng yn llaw Duw i fynegu a throsglwyddo yr ewyllys ddwyfol. Yn hyn yr oedd ei ffydd. Gwel xi. 20. Oblegid hyny gwrthodwyd cais Esau gan Isaac, fel cynrychiolwr y Duw hwnw yr hwn oedd eisoes wedi ei wrthod ganddo, pan werthodd efe yr enedigaeth-fraint.

**Canys ni chafodd efe le i edifeirwch.** Ymddengys i mi mai nid yr ystyr ydyw nas gallodd Esau berswadio Isaac i edifarhau neu ddadwneyd y weithred, nac ychwaith na chafodd Esau, er iddo edifarhau, le i'r edifeirwch hwnw weithredu mewn adfer iddo y fendith. Pe y blaenaf fuasai yr ystyr, nid "cael" a ddywedasai yr awdwr; a phe yr ail fuasai yr ystyr, nid "lle" a ddywedasai. Yr ystyr, fel yr ymddengys i mi, ydyw na chafodd Esau gan Dduw gyfle neu gynyg i edifarhau. Y mae y syniad hwn yn hollol yr un peth â'r hyn a ddywed yr awdwr yn vi. 6. Yr oedd Esau wedi syrthio yn hollol ymaith pan y gwerthodd ei enedigaeth-fraint.

18 edifeirwch, er iddo trwy ddagrau ei thaer-geisio hi. Canys ni

---

Yn iaith dyddiau yr efengyl, yr oedd wedi ail groeshoelio iddo ei hun Fab Duw a'i osod yn watwar. Cynyg ar edifeirwch ydyw ystyr yr ymadrodd "lle i edifeirwch" yn Epistol Clement o Rufain (pen. vii. 5); canys crybwylla fel esampl o Dduw yn rhoddi "lle i edifeirwch" ei fod yn anfon Noah i bregethu edifeirwch. Dadleua Westcott na olyga yr awdwr ddim mwy na bod cais Esau am adfer iddo y fendith wedi ei wrthod, nid fod Esau ei hun wedi ei wrthod. Ond y mae y gair gwreiddiol am "wrthod" yn y lle hwn yn llawer rhy gryf i osod allan y syniad mai methu dadwneyd gweithred Isaac yn rhoddi y fendith i Jacob a olygir. Ystyr y gair *(apedokimasthē)* ydyw "efe a anghymmeradwywyd." Gwel ffurf arall ar yr un gair yn vi. 8; 1. Cor. ix. 27; a'r un ffurf yn 1 Pedr ii. 4. Heblaw hyny, nid oes un awgrym yn yr hanes nac yn yr Epistol fod Esau wedi peidio bod yn ŵr dibris o bethau ysbrydol, ac am ei ysbryd dibarch i bethau cysegredig gwrthododd Duw y dyn yn gystal â'i gais.

**Er iddo twy ddagrau ei thaer-geisio hi.** Yr oedd y cyfieithwyr Cymraeg, y mae yn eglur, yn golygu mai ceisio y fendith a feddylir. Gellir darllen, "ei daer-geisio ef," sef yr edifeirwch. Felly Ebrard ac Alford. Ond wrth "edifeirwch" y golygant hwy ail gynyg i enill y fendith. Y mae yr esboniad hwn ar yr edifeirwch yn annigonol, ac nid yw ychwaith yn unol â'r hanes, er ei fod yn dwyn eu golygiad ar yr adn. hon yn bur agos at y gwir ystyr. Rhaid mai y fendith a olygai yr awdwr. Gwahaniaetha rhwng edifeirwch yn ceisio yr enedigaeth-fraint a dagrau yn ceisio y fendith ddaearol. Cafodd Esau daer-geisio hon â dagrau; ond, *er hyny*, ni roddwyd iddo gynyg ar edifarhau am werthu yr enedigaeth-fraint.

*4.—Rheswm arbenig dros wyliadwriaeth, oddiwrth y cyferbyniad rhwng y ddau Gyfamod.*

XII. 18—29.

Diau fod cyssylltiad agos rhwng yr adnodau hyn a'r adnodau blaenorol. Wedi anog ei ddarllenwyr i wylio arnynt eu hunain a'r eglwys, ac wedi crybwyll Esau fel esampl o ddyn gwrthodedig, ychwanega yr awdwr reswm dros wylio sydd yn arbenig yn codi o ymresymiad ac athrawiaeth neillduol yr Epistol trwyddo. Gan hyny, tra y mae yr anogaeth yn cyssylltu yr adnodau hyn â'r adnodau blaenorol, y mae y rheswm dros yr anogaeth yn gwneyd yr adran fer hon yn gymhwysiad naturiol oddiwrth ymresymiad yr holl Epistol. Cnewyllyn yr Epistol ydyw fod y datguddiad yn y Mab fel Archoffeiriad brenhinol wedi agor y ffordd i ni at Dduw. Yn yr adnodau hyn dangosir ofnadwyaeth yn gystal â gogoniant y fath wirionedd, fel rheswm dros wylio rhag gwrthod y datguddiad a'r hwn sydd yn llefaru ynddo. Wrth dynu tua therfyn ei Epistol dychwel yr awdwr at y syniad a osododd i lawr yn y cychwyn, sef fod Duw yn datguddio ei hun yn Nghrist. Bu agos i ni anghofio y drychfeddwl hwn yn nghanol yr ymdrafodaeth yn nghylch yr Archoffeiriad, y Cyfamod, y Gwaed, y Tabernacl. Ond meistrolaeth yr awdwr ar ein meddyliau oedd yr achos o hyny; fel, erbyn iddo ddwyn y syniad i'r golwg drachefn, gwisgir ef mewn geiriau a chyffelybiaethau newyddion, y rhai a enillodd yr awdwr yn ystod ei ymdriniaeth, a meddienir ni â syndod gorfoleddus wrth ganfod unoliaeth a llwyddiant yr ymresymiad yn nghylch y Cyfamod Gwell.

**ADN. 18.**—Rhaid gadael allan y gair "mynydd" yr hwn ni cheir ond mewn un (D) o'r llawysgrifau henaf. Diau i ryw gopïwr ei roddi i mewn o adn. 22. Sinai a feddylir. Ond gâd yr awdwr yr enw allan yn

ddaethoch chwi at y mynydd teimladwy sydd yn llosgi gan dân,
a chwmmwl, a thywyllwch, a thymmestl, A sain udgorn, a 19

---

fwriadol i alw sylw at y nodweddion a grybwyllir yn y geiriau dilynol. Nid y mynydd oedd yn bwysig, ond yr amgylchiadau.

**Teimladwy**; yn hytrach, "at beth a deimlid." Yr esboniad cyffredin ar y gair ydyw mai mynydd daearol, gweledig oedd Sinai, mewn cyferbyniad i Sïon ysbrydol. Ond ystyr y gair *psēlaphō* ydyw "ymbalfalu" (dichon ei fod o'r un tarddiad, megis hefyd y Saesneg "*paw*"), fel yn Act. xvii. 27. Ymddengys i mi fod y gair yn cyfeirio at y dychryn a ddaliasai y bobl, fel yr oeddynt megis deillion yn ymbalfalu, ynghanol y cwmwl a'r tywyllwch, weithiau yn ymguddio yn y gwersyll, weithiau yn rhuthro at y mynydd i hylldremu. Pâr awdwr yr Epistol i mi feddwl yn awr ac eilwaith am Homer, yn ei allu i roddi darlun cyflawn mewn un gair.

**Sydd yn llosgi**; yn llythyrenol, "sydd wedi bod yn llosgi;" hyny ydyw, fel y tybiwyf, o'r pryd hwnw hyd heddyw. I'r gwrthwyneb, y mae tân Sinai wedi hen ddiffoddi.

**Gan dân.** Golyga amryw, Chrysostom, Primasius, a Westcott yn eu plith, mai y darlleniad cywir ydyw "at dân teimladwy a llosgedig." Ond y golygiad arall sydd gywir; oblegid felly y mae yn Deut. iv. 11, y man a ddyfynir yma: "y mynydd oedd yn llosgi gan dân." Heblaw hyny, y mae y gair a gyfieithir "teimladwy," sef "ymbalfalu," yn anghymwys i'w ddefnyddio gyda golwg ar dân. Y mae yn gwbl annaturiol tybied, fel y gwna Chrysostom, fod yr awdwr, wrth sôn am "dân y gellir ei deimlo" yn meddwl am dano mewn gwrthgyferbyniad i Dduw, "y tân ysol," fel y dywedir yn adn. 29.

**Cwmwl**; neu, "niwl." Y mae cynydd yn natur arswydlawn y pethau: niwl—tywyllwch nos—tymhestl—udgorn—llef. Gwel Exod. xix. 16.

**Sain udgorn.** Arwydd o bresenoldeb Duw oedd yr udgorn, a defnyddir ef yn yr Ysgrythyr yn gyffelybiaethol am weithrediad dwyfol. Gwel Exod. xix. 16; Zech. ix. 14; 1 Cor. xv. 52.

**Llef geiriau**; sef llef Duw yn cyhoeddi y deg gorchymyn. Gwel Deut. iv. 12, 13. Parotoi ar gyfer y llef hon wnai yr holl olygfeydd arswydlawn a grybwyllwyd; ac yn y llef y cawn yr esboniad paham y dwg yr awdwr i mewn y cyferbyniad rhwng Sinai a Sïon. Gallasem ddisgwyl iddo gyferbynu yn hytrach fynediad yr archoffeiriad i'r sancteiddiolaf ar ddydd y cymod a dyfodiad pechadur at Dduw yn Nghrist. Ond dewisa efe yn hytrach gyfeirio at ddisgyniad Duw ar Sinai; am ddau reswm: (1) Gwnaeth ddefnydd eisoes o fynediad yr archoffeiriad i'r sancteiddiolaf yn y *tebygolrwydd* sydd rhwng hyny a dyfodfa pechadur at Dduw; ond yn awr y mae arno eisiau dangos, nid tebygolrwydd, ond cyferbyniad. (2) Gan fod yr adnodau hyn yn ddiweddglo i'r holl Epistol, y mae yn angenrheidiol dwyn i mewn y syniad o ddatguddiad oddiwrth Dduw i ddynion, a'r peth pwysicaf ar Sinai oedd y llef. Yr oedd yr hyn a gymmerodd le ar Sinai yn ddatguddiad o Dduw. Yn wir y datguddiad hwn a barotodd feddyliau y bobl i ymgymmeryd â'r gorchymyn yn nghylch aberthu. Yr oedd y fath ofnadwyaeth yn perthyn i Dduw fel y teimlai y bobl fod yn rhaid ei gymodi. Yn hyn y mae y gwahaniaeth sylfaenol rhwng Sinai a Sïon. Ar Sinai y datguddiad oedd yn galw am y cymod; ar Sïon y cymod a roddodd Crist ydyw sylfaen pob dyfodiad at Dduw a phob datguddiad ohono. Ond nid oedd unrhyw ddatguddiad o Dduw ar ddydd y cymod. Rhoddwyd aberth, ond ni dderbyniwyd datguddiad. Ni ddywedir dim yn llyfrau Moses am sefyllfa meddwl y bobl oddiallan tra

llef geiriau; yr hon pwy bynnag a'*i* clywsant, a ddeisyfasant
20 na chwanegid yr ymadrodd wrthynt: (Oblegid ni allent hwy
oddef yr hyn a orchymynasid; Ac os bwystfil a gyffyrddai â'r
21 mynydd, efe a labyddir neu a wenir â phiccell. Ac mor
ofnadwy oedd y golwg, *ag* y dywedodd Moses, Yr ydwyf yn

---

yr oedd yr archoffeiriad yn y sancteiddiolaf. Ni sonir fod yr archoffeiriad yn gweddio yn y sancteiddiolaf, na bod Duw yn llefaru wrtho mewn atebiad. Ond ar Sinai yr oedd Moses yn llefaru wrth Dduw a Duw wrth Moses.

**ADN. 19.—Yr hon**, sef y llef yn yr hon y llefarasai Duw y ddeddf foesol yn nghlyw yr holl wersyll. Euogrwydd cydwybod a barai iddynt ofni. Yr oeddynt wedi cael datguddiad o Dduw yn ei ddeddf sanctaidd a hyd yma heb wybod â pha aberthau i'w gymodi. Boddlonent i Moses, ond nid i Dduw, lefaru. Gwel Exod. xx. 19; Deut. v. 22–28.

**ADN. 20.—Ac os bwystfil a gyffyrddai**; yn hytrach, "hyd yn nod os bwystfil a gyffwrdd." Nid ychwanegiad at yr hyn a orchymynasid ydyw y geiriau yma, ond cynwys y gorchymyn. Y gorchymyn i labyddio hyd yn nod y bwystfil a ddygwyddai gyffwrdd â'r mynydd oedd y peth nas gallai y bobl ei oddef. A phaham nas gallent ei oddef? Am fod euogrwydd dynion, yn ol dysgeidiaeth yr Hen Destament, yn cael ei gosbi yn yr anifeiliaid direswm. Pan edifarhaodd ar yr Arglwydd wneuthur o hono ef ddyn, dywedodd, Dileaf o ddyn hyd anifail, Gen. vi. 7; a phan gadarnhaodd efe ei gyfamod â dyn ar ol y diluw, cynwysodd yn y cyfamod bob peth byw, Gen. ix. 10. Felly, dan Sinai, deallodd y bobl oddiwrth y gorchymyn i labyddio y bwystfilod, fod Duw yn ymddwyn tuag at y bobl eu hunain fel troseddwyr.

**Neu a wenir a phicell.** Rhaid gadael allan y geiriau hyn. Nid ydynt mewn un o'r llawysgrifau na'r cyfieithiadau henaf. Rhoddwyd hwynt i mewn gan ryw gopïwr o'r Deg a Thriugain.

**ADN. 21.—Ac mor ofnadwy oedd y golwg, ag y dywedodd Moses**; yn hytrach, "A chan mor ofnadwy oedd yr ymddangosiad, dywedodd Moses;" hyd yn nod Moses, y cyfryngwr ei hun. Ond yr hyn sydd yn hynod ydyw nad oes un crybwylliad yn yr hanes fod Moses yn ofni tra yr oedd efe gyda Duw ar Sinai. Golyga lliaws o'r esbonwyr fod yr awdwr wedi cael hyn yn y traddodiad Iuddewig. Felly Dr. Thomas a Westcott. Ond nid oes un traddodiad o'r fath ar gael. Ar achlysur arall (Deut. ix. 19) dywedir fod Moses yn ofni "rhag y soriant a'r dig," sef pan y disgynai o'r mynydd ac y gwelai y bobl yn addoli y llo aur. Y mae yn bur naturiol i ni dybied mai at yr amgylchiad hwn y cyfeiria yr awdwr. Yr un peth sydd yn dyfod i'r golwg yn yr adnod hon eto, mai pechod y genedl oedd yn achosi ofn. Tra yr oedd Moses gerbron Duw yn y mynydd, yr oedd ei ysbryd yn dangnefeddus. Ond dychrynwyd ef, oblegid y datguddiad o Dduw yno, gan yr olwg ar bechod y bobl.

**ADN. 22—ADN. 24.**—Desgrifiad gogoneddus o Fynydd Sïon, mewn cyferbyniad i Sinai. Ceisia Bengel ddangos fod y naill beth ar ol y llall a grybwyllwyd yn y desgrifiad o olygfeydd Sinai yn cyfateb i'r naill beth ar ol y llall yn y desgrifiad o Sïon. Ond y mae y tebygolrwydd yn rhy ddychymygol, ac ni enillai yr awdwr ddim wrth ymgais at hyny. Yr un pryd y mae y cyferbyniad yn fanylach na'r gwahaniaeth cyffredinol rhwng y ddau gyfamod fel y cyfryw. Dyfyna rhai esbonwyr eiriau Theodoret, yr hen esboniwr Groegaidd, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 456 O.C., ac y maent yn sicr yn gosod y cyferbyniad rhwng y ddau ddar-

ofni ac yn crynu.) Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Sïon, ac i 22

---

lun yn gywir a tharawiadol iawn:—"Yno yr oedd ofn, yma y mae gwyl a chymanfa; yr oedd y pethau hyny ar y ddaear, y mae y pethau hyn yn y nefoedd; yno yr oedd miloedd o ddynion, yma y mae myrddiynau o angelion; yno yr oedd anghredinwyr a throseddwyr, yma y mae eglwys cyntafanedigion y rhai a gofrestrwyd yn y nefoedd, ac ysbrydoedd cyfiawnion wedi eu perffeithio; yno yr oedd yr hen gyfamod, yma y mae y newydd; yno yr oedd gwas yn gyfryngwr, yma Mab; yno yr oedd gwaed anifeiliaid, yma y mae gwaed yr Oen personol." Y mae dosraniad Westcott o'r holl ddesgrifiad o Sïon yn rhagorol, er ei fod yn agored i rai gwrthddadleuon:—

I. Y Datguddiad Cristionogol yn ei gyflawniad: o ochr Duw (22, 23).
- (1) Yr olygfa.
  - (*a*) Y sylfaen.
  - (*b*) Yr oruwchadeiladaeth.
- (2) Y personau.
  - (*a*) Angelion.
  - (*b*) Dynion.

II. Y Datguddiad Cristionogol yn ei effeithiolrwydd: o ochr dyn (23, 24).
- (1) Y farn: pan y mae y bywyd daearol drosodd.
  - (*a*) Y Barnwr.
  - (*b*) Y rhai a berffeithiwyd.
- (2) Rhodd gras: yn ystod y bywyd daearol.
  - (*a*) Y Cyfamod.
  - (*b*) Yr Iawn.

Fel yr awn ymlaen cawn gyfle i ystyried y dosraniad hwn yn fanylach. Gwirionedd penaf yr holl Epistol ydyw fod y datguddiad o Dduw a roddir yn y Mab yn sail dyfodfa at Dduw. Drachefn a thrachefn anoga yr awdwr ei ddarllenwyr i ddyfod. Gwel nodiad ar x. 22. Ond yn ei ddiweddglo arddunol yn y ddeuddegfed benod ni phetrusa fynegu iddynt eu bod wedi dyfod eisoes. Cawsom gyfle amryw weithiau i weled nad ydyw yr awdwr hwn yn tynu llinell, fel y byddwn ni yn rhy gyffredin, rhwng rhagorfreintiau y saint ar y ddaear ac yn y nefoedd. Rhwygwyd llen y sancteiddiolaf, ac erbyn hyn y mae pob man mor agos at Dduw â phob man arall. Yn awr, nis gallaf lai na meddwl mai y syniad hwn sydd yn rhoddi eu ffurf neillduol i'r adnodau hyn. Y mae y naill beth ar ol y llall o'r cwbl a enwir yn gylch o fewn cylch. Gesyd yr awdwr ei hun megis mewn dychymyg yn y sancteiddiolaf, yr hwn ydyw canolbwynt yr holl gyfundrefn ysbrydol, a desgrifia yr holl gylchoedd, gan ddechreu gyda'r lleiaf a gorphen gyda'r mwyaf. O'r sancteiddiolaf gwel yr edrychydd fynydd Sïon, i ddechreu; yna y ddinas, Jerusalem; yna yr angelion a'r cyntaf-anedigion, yn cyniwair drwy yr holl eglwys ar y ddaear; yna, pan ddyrchafa ei lygaid uwchlaw y ddaear, y Barnwr; yna y rhai sydd wedi pasio y farn, ysbrydoedd y cyfiawnion; yna, yn uwch na'r holl olygfeydd hyn, tuhwnt iddynt oll a rhyngddynt â phresenoldeb gogoneddus y Duw Mawr, y mae y Dyn Iesu, fel Cyfryngwr y cyfamod, a'i waed wedi ei daenellu ar y gymodfa nefol; ac, fel hyn, y mae yr olygfa yn diweddu yn y man y cychwynodd, sef yn y sancteiddiolaf; ond gyda hyn o wahaniaeth, mai y sancteiddiolaf ar y ddaear yw y man lle y cychwynodd yr edrychydd ac mai yn y sancteiddiolaf ysbrydol yn y nef ei hun, cartrefle Duw, y diwedda yr olygfa. Felly, gellir ystyried yr adnodau hyn fel desgrifiad o daith pererin ysbrydoledig o'r sancteiddiolaf ar y ddaear i'r sancteiddiolaf

ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o
23 angelion, I gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig,

---

yn y nef ei hun. Y mae tebygolrwydd rhwng y bardd ysbrydoledig mewn cryfder dychymyg a ffurf ei ddarlun ac awdwr *Taith y Pererin.*

**ADN. 22.**—**Sion.** Moriah oedd enw y mynydd a gysegrwyd trwy offrymiad Isaac gan Abraham, ac ar yr hwn yr adeiladwyd y deml; ac enw ar y mynydd cyfagos, ar yr hwn yr adeiladodd Dafydd ei balas brenhinol, oedd Sïon. Ond bu arch Duw yn aros ar Sïon cyn i'r deml gael ei gorphen, a phan wastadhawyd y lle rhwng y ddau fynydd, aeth Sïon yn enw ar y ddau, a diflanodd yr enw Moriah. Desgrifia yr awdwr gysegredigrwydd y sancteiddiolaf megis yn ymledu dros y mynydd oll. Gwel Salm xlviii. 2; cx. 2; Es. xviii. 7.

**Dinas y Duw byw, y Jerusalem nefol.** Nid yn unig eangwyd y sancteiddiolaf i gymmeryd i mewn y mynydd, ond aeth yr holl ddinas yn sancteiddiolaf, fel nad oes eisiau teml ynddi (Dat. xxi. 22). Dinas y Duw byw ydyw; "canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Oen yw ei theml hi." Os oedd yr awdwr yn ysgrifenu at Eglwys Jerusalem ychydig cyn dinystr y ddinas gan Titus Vespasian, y mae yn anhawdd peidio meddwl fod ei ysbryd megis mewn gweledigaeth yn llygad-dyst o'r gyflafan, ac yn yr olwg ar ddiwedd y Jerusalem ddaearol yn canfod Jerusalem nefol ac ysbrydol yn cyfodi o ganol y tân, neu, fel y desgrifir hi yn Llyfr y Datguddiad (xxi. 2, 10), yn disgyn oddiwrth Dduw.

**Nefol.** Gwel xi. 16. Y mae y gair yn dyfod yn agos iawn at ystyr y gair "ysbrydol." Gwel Gal. iv. 26.

**ADN. 23.**—Os eangwn gylch ein gwelediad y tuallan i'r ddinas dros yr holl ddaear, ni a ganfyddwn, â llygad yr ysbryd, ddau fath o greaduriaid byw yn gwneyd i fyny y byd ysbrydol ar y ddaear trwy yr oesau. Y naill yw yr angelion, a'r llall ydyw eglwys y rhai cyntaf-anedig. Y mae peth amheuaeth pa un yw y darlleniad goreu, ai (1) "at fyrddiynau o angelion, i gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig" (fel yn y Bibl Cymraeg); ai ynte (2) "at fyrddiynau, cymanfa o angelion a chynulleidfa o gyntaf-anedigion;" ai (3) "at fyrddiynau o angelion yn gymanfa, ac at gynulleidfa o gyntaf-anedigion." Y mae trefniad arall ar y geiriau yn bosibl. Ond y rhai hyn yn unig sydd yn teilyngu sylw. Yr wrthddadl yn erbyn y trefniad cyntaf ydyw fod y cyssylltair "a" rhwng pob dau ddosbarth arall a enwir, ac y mae yn annaturiol tybied fod yr awdwr yn dwyn i mewn "gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig" heb y cyssylltair. Yr wrthddadl a ddygir ymlaen yn erbyn yr ail drefniad ydyw fod y gair "myrddiynau" yn gofyn cael ei gyssylltu â rhyw air fydd yn gosod allan myrddiynau o ba beth a olygir. Ond camgymmeriad ydyw hyn. Enw yr Hen Destament ar yr angelion ydyw "myrddiynau," megis yn Dan. vii. 10; ac yn Epistol Judas, 14, dylid darllen "ymysg ei sanctaidd fyrddiynau." Ac y mae *hyn* yn wrthddadl yn erbyn yr ail drefniad, gan mai mwy priodol fyddai cyssylltu y gair "myrddiynau" â'r angelion nag â chynulleidfa y cyntaf-anedigion. Ar y cyfan, gan hyny, mwy naturiol ydyw y trydydd trefniad: "at fyrddiynau o angelion yn cadw gŵyl ac at gynulleidfa (neu eglwys) y cyntaf-anedigion." Dyna'r trefniad a dderbynir gan Chrysostom, Œcumenius, Theophylact, Erasmus, Luther, Calvin, Grotius, Westcott, ac eraill. Ystyr y gair a gyfieithir "cymanfa" ydyw "tyrfa yn cadw gŵyl;" megis Ezec. xlvi. 11, "ar y gwyliau a'r uchel-wyliau." Gwel hefyd Amos v. 21. Y mae hwn yn ddesgrifiad prydferth, mewn un gair (gwel nodiad ar adn. 18,) o orfoledd yr angelion wrth chwenychu edrych (1 Pedr i. 12) ar eglwys y cyntaf-anedigion. Ysbrydion gwasanaethgar ydynt hwy, yn cael eu hanfon ar

y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb,

---

hyd wyneb y ddaear, ac yn tramwy o'r nefoedd i'r ddaear ac o'r ddaear i'r nefoedd i wasanaethu Duw yn achos y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth. Dengys hyn hefyd ystyr y gair "cyntaf-anedigion." Ni roddir yr enw hwn i'r angelion (yr hwn yw golygiad Davidson ac eraill), nac i saint yr Hen Destament i'w gwahaniaethu oddiwrth saint y Testament Newydd (fel y golyga Calvin, Bengel, a Lünemann), nac i'r saint ymadawedig, nac i'r dychweledigion cyntaf. *Yr etifeddion* yw y cyntaf-anedigion; ac mewn cyferbyniad iddynt y mae yr ysbrydion gwasanaethgar, y rhai a gadwant uchel-ŵyl gorfoledd pan y mae yr etifedd yn dyfod i'w oed. Yn awr, yr hyn a ddywed yr awdwr yn y lle hwn ydyw fod y ddaear yn llawn —i olwg y prophwyd ysbrydoledig hwn—o angelion yn cadw gŵyl blith draphlith âg eglwys yr etifeddion.

**Y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd.** Gwel Luc x. 20, lle y gwelir na raid i ni ystyried mai y saint y rhai a ymadawsant â'r byd hwn a olygir. Cyfeiria y gair at yr arferiad o gofrestru enwau dinasyddion pob dinas mewn llyfr, pa un bynag a fyddont yn preswylio yn y ddinas ar y pryd ai yn ymdaith. Felly yr aeth Joseph a Mair i'w cofrestru i'w dinas eu hunain, Luc ii. 3, 4. Yn y gair hwn awgryma yr awdwr y gwahaniaeth sydd, wedi'r cwbl, yn bod rhwng y saint ar y ddaear ac yn y nefoedd. Y mae y naill a'r llall yn y sancteiddiolaf; oblegid y mae y sancteiddiolaf ledled â'r greadigaeth bellach. Ond nid yw y saint ar y ddaear ond ymdeithwyr tua'r ddinas dragwyddol, yn llyfr yr hon y cofrestrwyd eu henwau. Gwel xi. 13—16; Jer. xxii. 30; Ezec. xiii. 9; Exod. xxxii. 32; Salm lxix. 28; Es. iv. 3; Dan. xii. 1; Mal. iii. 16; Phil. iv. 3; Dat. iii. 5, a manau eraill. Llyfr arall ydyw yr hwn y cofnodir gweithredoedd dynion ynddo.

**Ac at Dduw, Barnwr pawb**; yn fwy llythyrenol a gwell, "ac at y Barnwr, Duw pawb." Dyrchafa y gweledydd ei olygon oddiar y ddaear i fyny i'r byd arall. Y mae y cylch yn eangu. Ond y cyntaf a wêl yn y byd ysbrydol, yn Hades, ydyw y Barnwr. Y peth cyntaf ar ol myned o'r byd hwn ydyw barn; ix. 27. Ac felly, gallesid disgwyl i'r awdwr ddywedyd, "chwi a ddaethoch at Dduw sydd yn Farnwr pawb." Ond ymddengys i mi ei fod wedi newid trefn y geiriau yn fwriadol, dan ddylanwad yr ymadrodd blaenorol, "y cyntaf-anedigion." Oblegid i'r rhai cyntaf-anedig yn llinach y cyfamod cynwysai yr enedigaeth-fraint, nid yn unig etifeddu gwlad yr addewidion, ond hefyd cael Duw Abraham yn Dduw iddynt. Hwn oedd y peth a werthodd Esau am saig o fwyd. Wrth ddyrchafu ei lygaid i'r byd ysbrydol, cefnydd awdwr yr Epistol, nid yn unig fod Duw yn Farnwr, ond fod y Barnwr yn Dduw i'r rhai sydd heb werthu yr enedigaeth-fraint. Yn gyffelyb yr ymresyma Crist fod yn rhaid fod Abraham, Isaac, a Jacob yn fyw pan yr oedd efe yn llefaru, am fod Moses, wrth y berth, yn galw yr Arglwydd y pryd hwn yn Dduw Abraham, yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob, ac nid yw efe Dduw y meirw ond y rhai byw; Luc xx. 37, 38. Dywed yr awdwr yma fod yr Hebreaid Cristionogol wedi dyfod i wyddfod eu Barnwr wrth ddyfod i'r sancteiddiolaf trwy Grist, ond ychwanega, gyda brys, fel pe rhedai y ddau air i'w gilydd, fod y Barnwr yn Dduw iddynt yn nghyfamod Abraham. Gwel viii. 10. Gwelaf fod Westcott hefyd yn gwrthod y darlleniad cyffredin, "Duw Barnwr pawb." Ond golyga efe mai pethau, nid personau, a olygir, a chyfieitha fel hyn, "at Dduw pob peth fel Barnwr."

**Pawb**; sef pawb ohonynt hwy. Sylwer ar absenoldeb y fanod trwy yr holl adnodau. Ychwanega hyny lawer at rymusder yr ymadroddion. Rhed y ffrwd yn chwyrn a nerthol.

24 ac at ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd, Ac at Iesu,
Cyfryngwr y testament newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn

---

**Ac at ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd.** Treiddia golygon y gweledydd tuhwnt i'r farn. Yno canfydda ysbrydoedd noeth, hyny yw, heb eu cyrph. Gwel 2 Cor. v. 4. Hysbysa ddau beth am danynt. Y naill ydyw mai ysbrydoedd y cyfiawnion ydynt. Y maent yn gyfiawn bellach yn holl ystyr y gair yn x. 38, "fy ngŵr cyfiawn i a fydd byw." Cymmeradwywyd hwynt gan y Barnwr, a derbyniwyd hwynt gan eu Duw. Am hyny, crybwyllir am danynt yma yn uniongyrchol ar ol y cyfeiriad at "y Barnwr ein Duw ni oll." Y peth arall a ddywed yr awdwr am danynt ydyw eu bod wedi eu perffeithio. Nid oeddynt wedi eu perffeithio cyn i Grist fyned i mewn i'r cysegr, a chyn i ninau fyned i mewn gydag ef; xi. 40. Y mae yn canlyn mai trwy ein bod ni wedi dyfod i fynydd Sïon y mae ysbrydoedd y cyfiawnion a ymadawsant â'r fuchedd hon wedi eu perffeithio. Diamheu fod y gair "ysbrydoedd" yn awgrymu y bydd perffeithiad pellach arnynt yn yr "adgyfodiad gwell;" xi. 35. Ond y mae yn hynod can lleied o le a ddyry yr awdwr hwn i athrawiaeth yr adgyfodiad. Awgrymir hi, a dyna'r cwbl. Yn y pwnc hwn ni chyrhaeddodd i uchder safle yr Apostol Paul.

**ADN. 24.—Ac at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd;** yn hytrach, "ac at Gyfryngwr y cyfamod newydd, sef Iesu." Esgyna yr awdwr i gylch uwch drachefn. Ar ol myned heibio i orsedd y farn, y mae Duw eto o'n blaen ar ei orsedd uwchaf yn derbyn ein Harchoffeiriad ar ein rhan, fel Cyfryngwr y cyfamod, yr hwn nad yw eto ond megis newydd ei sefydlu; a chwi a ddaethoch i gymundeb â'r Cyfryngwr dyrchafedig hwnw, yn yr hwn y mae cylch uwchaf y greadigaeth yn cyffwrdd y Duw digreëdig, Tad ein hysbrydoedd.

**Newydd.** Nid yr un gair sydd yma âg yn ix. 15. Yno sonia yr awdwr am Grist fel Cyfryngwr y cyfamod sydd *wedi dyfod i mewn yn lle* yr hen gyfamod; ond yma yr ystyr ydyw nad oes ond *ychydig amser* wedi myned heibio er pan y mae y cyfamod wedi ei ddwyn i weithrediad yn marwolaeth Crist a'i fynediad i'r cysegr. Er ieuanged ydyw y cyfamod, y mae efe eisoes wedi profi ei hun yn effeithiol i'n dwyn i'r sancteiddiolaf. Gwna ychwaneg eto. Gwel xiii. 21.

**A gwaed y taenelliad.** Nis gallaf weled fod y geiriau hyn yn y lle hwn yn cyfeirio at daenelliad y gwaed gan Moses wrth sefydlu yr hen gyfamod. Yn hytrach at daenelliad y gwaed gan yr archoffeiriad yn y sancteiddiolaf y mae y cyfeiriad. Fel y taenellai Aaron y gwaed ar ddydd y cymod yn y sancteiddiolaf, felly, mewn ffurf ysbrydol, y mae Iesu yn taenellu ei waed yn y nefoedd. Y mae Bengel a rhai esbonwyr eraill yn dwyn i mewn i'r adn. hon syniad dyeithrol, sef fod gwaed materol corph Crist, yr hwn a gollwyd ar y groes, wedi ei gadw yn ddilwgr trwy allu Duw a'i daenellu yn y gwir gysegr. Ond nis gellir derbyn y syniad, am ei fod yn gwneyd mynydd Sïon mor ddaearol â mynydd Sinai. Y mae "gwaed a chnawd" yn y corph yn nodweddiadol o'r corph anianol mewn cyferbyniad i'r corph ysbrydol; ac felly nis gall ychwaith fod gwaed materol yn cael ei daenellu yn y nefoedd, nac o gorph nac ar wahan oddiwrth gorph yr Iesu. Yr anhawsder ydyw gwybod paham y sonia yr awdwr am waed y taenelliad yn yr adn. hon yn ychwanegol at y Cyfryngwr ei hun. Yr ateb ydyw fod y Cyfryngwr a'i waed yn syniadau gwahaniaethol, a bod eisiau dwyn y gwahaniaeth i sylw yma er mwyn gwneyd ffordd i'r hyn a ddywedir am y gwaed yn llefaru.

sydd yn dywedyd pethau gwell na'r *eiddo* Abel. Edrychwch 25
na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru. Oblegid oni ddïangodd
y rhai a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear, mwy

---

**Yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel**; yn hytrach, "yr hwn sydd yn llefaru yn gryfach nag Abel." Y mae yn wir fod gwaed Iesu yn llefaru pethau gwell na gwaed Abel. Ond cymer yr awdwr hyny yn ganiataol. Y mae y peth yn rhy amlwg i'w roddi i lawr ganddo. Gwyddai ei darllenwyr mai gwaeddi am ddial ar y llofrudd yr oedd gwaed Abel, ac mai eiriol am faddeuant y mae gwaed Iesu. Yr hyn oedd eisiau ei ddyweyd ydyw fod llef gwaed Iesu am faddeuant yn gryfach, yn fwy effeithiol, na'r llef sydd yn galw am ddial. Y mae gwaed Abel yn cael ei ddefnyddio yma fel yn cynrychioli pob llef sydd yn galw am gosbi yr euog. Y mae hyd yn nod gwaed Iesu ei hun o'r *ddaear* yn gwaeddi am ddial, ond yn y nefoedd yn gwaeddi am faddeuant. Terfyna yr awdwr ei ddesgrifiad o Sïon trwy ddwyn i mewn, mewn dull hollol naturiol ond tra deheuig, gyfeiriad at y cyntaf o wroniaid ffydd a enwyd ganddo yn y benod flaenorol. Cymherir yma y cyntaf a'r olaf ohonynt. Nis gall dim fod yn fwy grymus i ddangos y pellder anfesurol rhwng pawb ohonynt a'r Iesu. Yn Abel yr oedd nid yn unig ffydd ond hefyd hawliau cyfiawn ac anocheladwy gwaed. Y mae y ddau beth hefyd yn Iesu. Ond y mae cymaint o wahaniaeth rhyngddynt âg sydd rhwng dial a maddeu, ïe cymaint o wahaniaeth âg sydd rhwng dialedd yn gwrthod maddeu a maddeuant yn cymmeryd lle dialedd.

**ADN. 25—ADN. 29.**—Oddiwrth y desgrifiad o Sinai a Sïon y mae yr awdwr bellach yn tynu ei rybudd ymarferol i beidio gwrthod y datguddiad a rydd Duw yn Nghrist.

**ADN. 25.—Edrychwch.** Nid oes un cyssylltair i gydio yr adnod hon â'r adnod o'r blaen, fel sydd bron bob amser rhwng dwy frawddeg yn yr iaith Roeg. Y mae y gair yn disgyn ar y darllenwyr yn liawer mwy nerthol am ei fod mor ddisymwth.

**Yr hwn sydd yn llefaru.** Yn yr adnod flaenorol sonir am waed y taenelliad yn llefaru. Yn yr adnod hon cyfeirir, nid at waed, ond at berson yn llefaru. Eto y mae yn eglur oddiwrth y cyssylltiad mai Crist yn ei waed a olygir, ac y mae y geiriau nesaf yn dangos fod yr awdwr yn ystyried mai yr un ydyw y Person hwn â Duw, yr hwn a lefarodd ar Sinai ac sydd yn llefaru o'r nef. Nid Moses a olygir, fel y dywed Chrysostom ac eraill. Yr un pryd, y mae cyfeiriad yn y gair "gwrthod" at yr hyn a ddywedir am y bobl yn deisyf ar i Moses lefaru ac na lefarai Duw wrthynt. Y cyfieithiad llythyrenol fyddai, "Edrychwch na ddeisyfoch ar i'r hwn sydd yn llefaru beidio llefaru." Ond y mae anhawsder yn y geiriau nad yw yr esbonwyr yn sylwi arno. Oddiwrth Deut. v. 27, 28, gwelwn mai nid gwrthod gorchymyn Duw yr oedd y bobl pan y deisyfent ar i Moses, ac nid Duw, lefaru wrthynt. I'r gwrthwyneb addawent ufuddhau. Arswyd, nid anufudd-dod, barai iddynt ddeisyf ar Moses lefaru. Ac nid yw y gair a ddefnyddir yma yn golygu "gwrthod mewn dirmyg." Yr eglurhad ydyw fod yr arswyd hwn ei hun, er ei fod yn gyson âg ysbryd yr hen gyfamod, eto yn codi o euogrwydd ac anghrediniaeth. Hyn a barodd nas gallant oddef i Dduw lefaru, a hyn a barodd hefyd iddynt syrthio yn yr anialwch a methu myned i mewn i'r orphwysfa.

**Yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear.** Rhaid newid ychydig ar y darlleniad gwreiddiol a chyssylltu y geiriau "ar y ddaear" â'r gair "gwrthodasant." Efallai hefyd mai gwell ydyw deall y gair a gyfieithir "llefaru" mewn ystyr mwy cyffredinol: "Canys os hwynt-hwy ni ddiang-

o lawer *nis diangwn* ni, y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr
26 hwn sydd *yn llefaru* o'r nef: Llef yr hwn y pryd hwnnw a
ysgydwodd y ddaear: ac yn awr a addawodd, gan ddywedyd,

---

asant, pan ar y ddaear y gwrthodasant yr hwn oedd yn ymwneyd â hwynt." Ond yr un yw yr ystyr. Yn unig profa y ddau gyfnewidia hyn mai nid Moses, ond Duw, a olygir wrth yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear yn gystal â'r hwn sydd yn llefaru o'r nef.

**Y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr hwn sydd yn llefaru o'r nef**; neu, "yn ymwneyd â ni o'r nef." Y cyferbyniad i Dduw yn ymwneyd â dynion ar Sinai ar y ddaear ydyw Duw yn ymwneyd â ni o Sïon, yr hwn yw y nef. Dywedir yn Exod. xx. 22 mai o'r nef y llefarai Duw hyd yn nod y pryd hwnw ar Sinai. Ond y mae y nef hono, i olwg awdwr yr Epistol, yn ddaearol o'i chymharu â'r "nef ei hun" yr aeth Iesu i mewn iddi. Wrth lefaru (neu ymwneyd) o'r nef y golygir datguddiad wedi ei seilio ar offeiriadaeth ac aberth. Cyhoeddiad yr efengyl o faddeuant a phrynedigaeth trwy waed Crist a feddylir. Y mae yr Archoffeiriad yn y sancteiddiolaf, ac y mae Duw yn cyhoeddi gwaredigaeth i'r bobl er ei fwyn, yr hyn na chyhoeddwyd erioed o'r sancteiddiolaf ar y ddaear.

**Yn troi ymaith**; hyny yw, gwrthod gyda dirmyg; mewn gwrthgyferbyniad i "lynu" (Actau xvii. 34). Nid yr un gair sydd yn adn. 25.

**Ni.** Y mae yn syn fod yr awdwr yn gosod ei hun gyda'i ddarllenwyr. Nis gallai wneyd oni bai ei fod yn rhoddi y gair yn yr amseriad presenol: "y rhai ydym yn dechreu troi ymaith, yn gogwyddo i droi ymaith." Y mae yn wir mai fel dadleuydd medrus y llefara, ac nid am ei fod ei hun yn tueddu i droi ymaith. Ond, er hyny, nis gall neb, mi a dybiaf, ddychymygu Apostol, yn arbenig yr Apostol Paul, yn sôn am dano ei hun, hyd yn nod mewn areithyddiaeth, yn troi ymaith oddiwrth Dduw. Byddai y fath ddull o siarad yn annaturiol i Apostol awdurdodedig Crist, er na byddai y peth ei hun efallai yn llai annhebyg o gymmeryd lle gyda golwg ar Apollos neu Barnabas.

**ADN. 26.—Y pryd hwnw a ysgydwodd y ddaear.** Gwel Exod. xix. 18, lle y mae y cyfieithiad Cymraeg yn rhoi ystyr yr Hebraeg. Yn ol cyfieithiad y Deg a Thriugain, darllenir, "a'r bobl a ddychrynodd yn ddirfawr." Yma, gan hyny, gedy yr awdwr y cyfieithiad hwnw, yn groes i'w arfer, eto ni chyfieitha o'r Hebraeg gwreiddiol, ond mynega y ffaith fel y ceir hi yno.

**Ac yn awr a addawodd.** "Yn awr," mewn gwrthgyferbyniad i'r ysgydwad ar Sinai. Er mai yn yr Hen Destament y ceir yr addewid, y mae efe yno, fel addewid, yn perthyn i'r cyfamod newydd. Hyn yw ystyr yr ymadrodd, "yn awr." Yr addewid, nid y cyflawniad ohono yn unig, sydd yn yr amser presenol. Dyfynir o Haggai ii. 6. Rhagfynega y prophwyd ogoniant yr ail dŷ mewn geiriau sydd yn adgoffa i awdwr yr Epistol olygfeydd arswydlawn Sinai. Ymddengys fel pe tybiai fod Haggai yn ysgrifenu gyda chyfeiriad atynt. Y mae dau ymadrodd yn cyssylltu y brophwydoliaeth â Sinai. Yn gyntaf, pan lefarodd Duw ar Sinai, ysgydwodd y ddaear. Rhagfynega Haggai y bydd i Dduw ysgwyd y nefoedd. Yn ail, defnyddia Haggai y geiriau, "Eto unwaith;" ac ystyria yr awdwr fod hyn yn golygu y bydd yr ail ysgydwad yn gyffelyb i ysgydwad Sinai, ac hefyd, gan mai *unwaith* eto y bydd ysgydwad, y bydd yr ail yn symud ymaith y pethau a ysgydwir.

**A addawodd**; neu mewn arall-eiriad: "y mae yr addewid wedi ei roddi ac ar gael yn yr Ysgrythyr." Hyn yw ystyr yr amseriad a roddir yma. Y mae symudiad y pethau a ysgydwir yn addewid am fod y symud hwn

Etto unwaith yr wyf yn cynhyrfu nid yn unig y ddaear, ond y
nef hefyd. A'r Etto unwaith hynny, sydd yn hysbysu sym- 27
mudiad y pethau a ysgydwir, megis pethau wedi eu gwneuthur,
fel yr arhoso y pethau nid ysgydwir. O herwydd paham, gan 28

---

yn sicrhau y pethau nid ysgydwir. Golyga amryw esbonwyr rhagorol fod yr awdwr yn cyfeirio, nid at chwyldroadau anianyddol yn y greadigaeth, ond at sefydliad yr oruchwyliaeth newydd, ac, felly, ei fod yn llefaru yn gymhariaethol. Ond ymddengys i mi fod yr ystyriaethau canlynol yn benderfynol yn profi fod cyfnewidiadau mawrion mewn natur yn meddwl yr awdwr. Yn gyntaf, ni eilw yr awdwr hwn sefydliad y cyfamod newydd yn chwyldroad cynhyrfus, ond desgrifia yr hen gyfamod yn heneiddio ac yn darfod, a'r newydd yn dyfod i mewn yn naturiol i lanw ei le. Yn ail, desgrifir ail-ddyfodiad yr Arglwydd fel adeg o chwyldroadau mawrion mewn natur, megis yn 2 Pedr iii. 10. Yn drydydd, oblegid hyny, ni byddai yr ymadrodd "eto unwaith" yn gywir pe at sefydliad yr oruchwyliaeth newydd y cyfeiriai yr awdwr. Y mae yn wir, mai mewn cyssylltiad â chwyldroad mawr yn y byd ysbrydol, pan ddaw yr Arglwydd, y cymer y cyfnewidiadau anianyddol le. Ond y pwnc ydyw y bydd cyfnewidiadau yn y greadigaeth yn cydfyned â dyfodiad y Barnwr. Amcan yr awdwr wrth gyfeirio at symudiad y pethau a ysgydwir ydyw annog yr Hebreaid i feddiannu y deyrnas ddisigl.

**ADN. 27.**—Ymresyma yr awdwr, gan mai *unwaith* eto yr ysgydwa Duw y greadigaeth, fod hyny yn cynwys y bydd yr ysgydwad hwnw yn symud y pethau a ysgydwir i wneyd lle i bethau sefydlog.

**A ysgydwir**; yn llythyrenol: "y pethau sydd (eisoes) yn cael eu hysgwyd," gyda chyfeiriad, fe ddichon, at y terfysgoedd a ragflaenai ddinystr Jerusalem, yr hwn oedd yn ymyl.

**Megis pethau wedi eu gwneuthur.** Y mae yn anhawdd penderfynu pa un a ddylid cyssylltu y geiriau hyn â'r geiriau dilynol ai peidio. Ai yr ystyr yw y symudir y pethau a ysgydwir, fel pethau crëedig, ac y symudir hwynt fel yr arhoso y pethau nid ysgydwir; ai ynte y symudir y pethau a ysgydwir fel pethau sydd wedi eu gwneuthur o bwrpas i sicrhau arosiad y pethau nid ysgydwir? Gellir gofyn, ar y naill law, pa fodd y mae symudiad y pethau a ysgydwir yn sicrhau arosiad y pethau nid ysgydwir? A thrachefn gellir gofyn pa fodd y mae fod y pethau a ysgydwir yn bethau wedi eu gwneuthur yn rheswm dros eu symud? Hawdd ydyw ateb yr ail ofyniad, trwy ddyweyd fod yr awdwr yn edrych ar yr holl greadigaeth, yn debyg fel y golyga yr hen oruchwyliaeth, megis byd o arwyddluniau o bethau ysbrydol, y rhai ydynt dragwyddol. Ac yn y syniad hwn y daw i'r golwg eto ddylanwad Platoniaeth Iuddewig ar yr awdwr. Am y gofyniad blaenaf, rhaid i ni olygu mai yr ystyr ydyw fod symudiad y pethau a ysgydwir yn dwyn allan i olwg pawb arosiad y pethau nid ysgydwir. Rhaid cydnabod naturioldeb y golygiad. Ond tuag at ei wneyd yn fwy sicr y mae yn ofynol i ni ystyried mai at bethau gweledig a materol y cyfeiria y geiriau "wedi eu gwneuthur:" canys y mae y pethau ysbrydol eu hunain wedi eu gwneuthur yn yr ystyr o fod wedi eu trefnu neu eu gosod. Ar y cyfan, dichon mai gwell derbyn y golygiad hwn na chyssylltu y geiriau "wedi eu gwneuthur" â'r geiriau dilynol, i ddatgan amcan y pethau a wnaethpwyd.

**ADN. 28.—Oherwydd paham**; sef oherwydd ein bod yn derbyn teyrnas ddisigl. Crynhoad o'r ymresymiad yn yr adnod flaenorol ydyw y geiriau "gan ein bod yn derbyn teyrnas ddisigl."

ein bod ni yn derbyn teyrnas ddisigl, bydded gennym ras, trwy
yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyd â gwylder
29 a pharchedig ofn: Oblegid ein Duw ni *sydd* dân ysol.

---

**Teyrnas.** Sylwa Westcott yn rhagorol fod y syniad o deyrnas wedi ei awgrymu gan yr ail ran o brophwydoliaeth Haggai. Gwel Haggai ii. 22. Nid yn unig rhagfynega y prophwyd dŷ newydd i Dduw, ond hefyd deyrnas arosol wedi ei sefydlu ar adfeilion teyrnasoedd y byd hwn.

**Yn derbyn.** Golyga y gair "derbyn o law Duw," fel yn Dan. vii. 18. Gwel Luc. xii. 32. Nid un o'r "pethau sydd wedi eu gwneuthur" ydyw y deyrnas hon; ac, am hyny, os cawn feddiant ohoni o gwbl, ei derbyn raid i ni gan Dduw.

**Disigl**; yn llythyrenol, "diysgog," "nas gellir ei hysgwyd." Llawer llai y gellir ei symud ymaith.

**Bydded genym ras.** Darllena yr esbonwyr Groegaidd "bydded genym ddiolchgarwch." Goddefa y gwreiddiol y naill a'r llall o'r ystyron hyn. Ar y cyfan y darlleniad sydd yn y Bibl Cymraeg ydyw y mwyaf tebygol, am fod yr awdwr yn esbonio y gair yn y geiriau sydd yn dilyn, sef "gyda gwylder a pharchedig ofn." Cynwysa hyn lawer mwy na diolchgarwch. Y mae y ffaith fod yr awdwr eisoes wedi anog ei ddarllenwyr i ddyfod at orseddfainc y gras, fel y derbyniont ras (iv. 16) yn myned ymhell i brofi mai am yr un peth y mae efe yn meddwl yma hefyd. Wrth y geiriau "bydded genym" y golygir, yn ddiau, dyfodfa at Dduw er mwyn derbyn gras, fel yn iv. 16.

**Y gwasanaethom Dduw.** Gan fod Duw yn rhoddi teyrnas ddisigl i ni, gwasanaethwn Dduw. Tybiaf mai yr ystyr ydyw fod y deyrnas yn yr hon yr ydym yn frenhinoedd yn berffaith ddisigl. Nid oes berygl iddi ysgog byth. Ni raid i ni barotoi arfau i'w hamddiffyn rhag ymosodiadau y gelynion. Gallwn droi ein meddyliau at waith arall, y gwaith hwnw er mwyn cyflawni yr hwn y sefydlwyd y deyrnas, sef gwasanaethu Duw, fel y mae yr angelion, gweinidogion y deyrnas, eisoes yn gwneyd (i. 14).

**Gyda gwylder a pharchedig ofn.** Y darlleniad cywir ydyw, "gyda duwiolfrydedd ac ofn." Y gair "duwiolfrydedd" sydd yn v. 7. Y gwahaniaeth rhyngddo a'r gair a gyfieithir "ofn" ydyw fod "duwiolfrydedd" yn cynwys parch i gymmeriad Duw, ac "ofn" yn golygu disgwyliad am y gosb sydd yn disgyn ar yr anffyddlawn. Y gair hwn, gan hyny, sydd yn cyssylltu yr adnod hon â'r nesaf.

**ADN. 29.—Oblegid ein Duw ni sydd dan ysol.** Hwn yw y cyfieithiad cywiraf, ac nid "canys *hefyd*," hyny yw, heblaw ei fod yn drugarog; nac ychwaith "canys ein Duw *ninau*," hyny yw, yn gystal â'r Duw oedd ar Sinai. Nid oes unrhyw gyfeiriad yn yr adnod hon at y tân ar Sinai. Moses a ddywedodd yn ei gynghor olaf i'r bobl cyn ei farwolaeth fod Duw yn dân ysol (Deut. iv. 24). Hawlia awdwr yr Epistol mai y Duw hwnw, yr hwn oedd Dduw i Israel ("Yr Arglwydd dy Dduw" yw geiriau Moses), ydyw Duw yr Hebreaid Cristionogol hefyd. Ymddengys i mi mai nid yr ystyr ydyw fod Duw yn puro ei bobl oddiwrth bob sothach (Westcott), ond yn hytrach ei fod yn ysu ei elynion, pa un bynag a fyddont ai ei bobl gwrthryfelgar yn y deyrnas ai y gwrthwynebwyr oddiallan iddi (x. 27). Y mae y syniad ei fod yn ysu y gwrthwynebwyr yn rheswm dros i ni beidio ofni am ddyogelwch ansigledig y deyrnas, ac hefyd dros i ni sydd yn derbyn y deyrnas wasanaethu Duw yn dduwiolfrydig ac ofnus, rhag iddo ddigio.

## *PENOD XIII.*

PARHAED brawdgarwch. Nac anghofiwch lettygarwch: 1
canys wrth hynny y llettŷodd rhai angelion yn ddiarwybod. 2
Cofiwch y rhai sydd yn rhwym fel pettech yn rhwym gyd â 3

---

5.—*Amrywiol Gynghorion.*

XIII. 1—25.

Gellir ystyried y benod hon fel attodiad i'r Epistol. Y mae gwahaniaeth hyd at gyferbyniad rhwng ieithwedd urddasol y benod o'r blaen a chynghorion byrion, ond miniog, yr attodiad. Gwell yw peidio ceisio cyssylltiad rhy agos rhwng y naill a'r llall o'r anogaethau. Er hyny crynhoant at eu gilydd mewn trefn hollol naturiol. Pwnc y tair adnod cyntaf ydyw caredigrwydd eglwysig; yna symuda yr awdwr ymlaen i anog i burdeb, i haelfrydedd, i ymostyngiad i arweinyddion yr eglwys, i wyliadwriaeth rhag athrawiaethau dyeithr, i weddi dros eu cynghorwyr. Terfyna yr awdwr gyda gweddi dros ei ddarllenwyr, a rhai anerchiadau.

**PEN. XIII.—ADN. 1.—Parhaed.** Caniata yr awdwr eisoes (vi. 10) eu bod yn gweini i'r saint. Hwn yw bron yr unig ras nad oeddynt wedi ei golli. Yr oedd hwn hefyd mewn perygl; yn x. 34 anoga hwynt i gofio yr amser gynt pan y tosturient wrth eu brodyr oeddynt wedi eu carcharu am eu crefydd. Am hyny *parhaed* brawdgarwch. Enw ar y Cristionogion yn y Testament Newydd drwyddo ydyw "brodyr." Rhoddwyd yr enw hwn arnynt gan Grist ei hun. Erbyn amser ysgrifeniad Epistol Cyntaf Pedr, y mae y gair "brawdoliaeth" wedi ei fabwysiadu ganddynt oddiwrth y Maccabeaid a'i drosglwyddo i wasanaeth yr eglwys, ac yn llyfrau y tadau ceir ef yn fynych.

**ADN. 2.**—Ymddengys eu bod mewn mwy o berygl anghofio dangos lletygarwch i'r brodyr dyeithr a fyddai yn ymdaith. Diau y byddai rhai yn ffoi rhag erlidigaeth; oblegid dygwyddai yn fynych fod rhai eglwysi dan erlidigaeth pan nad oedd y lleill. Ymdeithiai rhai brodyr hefyd fel efengylwyr a "phrophwydi." Atynt hwy a'r rhai a erlidid y cyfeirir yn 1 Tim. v. 10. Y mae yn debygol fod gan aelodau y gwahanol eglwysi ryw fath o docyn neu arwydd arall trwy yr hwn y gallai eu brodyr ymhob man wybod mai Cristionogion oeddynt. Yn "Nysgeidiaeth y Deuddeg Apostol" ceir cynghor fel hyn: "A phob apostol a ddaw atoch, derbyniwch ef megis yr Arglwydd; ond nac arhosed ar hyd un diwrnod; eto, os bydd angen, arhosed am ddiwrnod arall; ond os erys am dri diwrnod, gau-brophwyd ydyw." Dyfyna Westcott eiriau y pagan Lucian, pan y gwawdia y "Pererin" (a golyga llawer mai yr Apostol Paul oedd dan ei fflangell) ac y desgrifia ef yn ymdaith i dwyllo y byd ac yn pwyso ar y Cristionogion ar ei ffordd.

**Angylion.** Rhyfyg fyddai anturio gwadu fod yr awdwr yn credu mewn ymweliadau angelion. Ond nid y meddwl ydyw mai da bod yn lletygar, oherwydd y dichon y daw angelion heibio, fel y daethant heibio i babell Abraham ac i dŷ Lot (Gen. xviii. 2; xix. 1). Canys yn y ffaith eu bod wedi derbyn angelion *yn ddiarwybod* y mae perarogledd y weithred. Yr ystyr ydyw fod bendith neillduol ar deuluoedd lletygar. Y mae hanes crefydd yn Nghymru ei hun wedi profi hyn drosodd a throsodd.

**ADN. 3.—Y rhai sydd yn rhwym**; hyny ydyw, y rhai oedd ar y pryd, pan ysgrifenai yr awdwr, yn garcharorion am eu crefydd. Gwel nodiad ar x. 34.

nwynt; y rhai cystuddiol, megis yn bod eich hunain hefyd yn
4 y corph. Anrhydeddus *yw* prïodas ym mhawb, a'r gwely di-
halogedig: eithr putteinwyr a godinebwyr a farna Duw.
5 *Bydded eich* ymarweddiad yn ddïariangar; gan fod yn fodd-
lawn i'r hyn sydd gennych; canys efe a ddywedodd, Ni'th

---

**Pettech.** Gwell gadael allan y gair hwn. Yr ystyr ydyw eu *bod* eu hunain yn rhwym pan y mae eu brodyr felly.

**Cofiwch.** Defnyddir y gair awgrymiadol hwn oblegid mai tir anghof yw y carchar.

**Cystuddiol.** Nid y rhai sydd mewn afiechyd a olygir, ond y rhai a gystuddir gan erlidwyr neu ydynt mewn cyflwr trallodus.

**Megis yn bod eich hunain yn y corph.** Ni roddodd y cyfieithwyr y gair "pettech" i mewn yma, a gwnaethant yn dda ei adael allan. Yr ystyr ydyw eu bod hwythau yn y corph sydd yn agored i'r un gorthrymder ag a ddyoddefa eu brodyr eisoes. Golyga Calvin mai yr ystyr ydyw eu bod yn nghorph dirgeledig Crist. Ond (1) byddai hyny yn gystal rheswm dros yr anogaeth flaenorol ag ydyw dros y cynghor hwn; ac (2) dywedasai yr awdwr "yn *y* corph," ac nid, fel y mae yn y gwreiddiol, "*mewn* corph."

**ADN. 4.**—I burdeb yr anogir hwynt yn nesaf. Ac anogaeth yn sicr ydyw yr adnod, nid datganiad. Rhaid darllen: "bydded priodas yn anrhydeddus." Ond ystyr y gair a gyfieithir "anrhydeddus" ydyw "mewn parch." Nid yr anogaeth ydyw fod i'r Hebreaid oeddynt wedi myned i'r stâd briodasol ymddwyn yn weddaidd ynddi. Yr ystyr ydyw eu bod i barchu priodas; i ystyried nad oes dim annheilwng o Gristion mewn priodi. Y mae yn anhawdd peidio cydnabod fod y teimlad yn yr adnod hon ychydig yn wahanol i duedd yr Apostol Paul i feddwl ar y pwnc hwn, er nad oes dim yn anghyson rhwng y ddau ysgrifenwr mewn golygiad. Gwel 1 Cor. vii. 8. Ond erbyn yr amser pan ysgrifenai yr awdwr hwn ei Epistol yr oedd syniadau yr Esseniaid, y rhai a waharddent briodas, yn ymledu. Cosyd yntau ei hun yn gryf yn eu herbyn.

**Yn mhawb.** Os cywir y golygiad a gynygiwyd ar y gair "anrhydeddus" (ac ymddengys i mi nas gall y gair oddef ystyr arall), y mae yn rhaid i ni ddeall y geiriau hyn fel y cymmerir hwynt yn y Bibl Cymraeg, ac nid darllen "ymhob peth," neu "ymhob modd," fel yr eglurir hwynt gan y rhan fwyaf o esbonwyr y dyddiau hyn.

**A'r gwely dihalogedig**; yn hytrach, "a'r gwely yn ddihalog." Wedi anog yr Hebreaid yn erbyn diystyru a gwahardd priodas, rhybuddia hwynt, ar y llaw arall, i gadw purdeb yn y stâd briodasol.

**Eithr puteinwyr a godinebwyr a farna Duw.** Yn lle "eithr," rhaid darllen "canys." Rheswm ydyw barn Duw dros y rhybudd i wylio dros burdeb yn y stâd briodasol. Y mae pwyslais ar gair "Duw" yn y gwreiddiol. Yr ystyr ydyw nas gellir cuddio dim oddiwrth Dduw, ac nas gellir pylu mîn digofaint Duw yn erbyn y troseddwyr hyn.

**ADN. 5.**—Awgrymir yn yr anogaethau i letygarwch ac i garedigrwydd tuag at y rhai adfydus fod yr Hebreaid yn dueddol i garu arian. Ond gallwn gasglu oddiwrth yr adnod hon eu bod wedi dyoddef colledion. Dichon fod yma gyfeiriad at yr angenoctid dirfawr y buont ynddo yn amser Claudius Cesar. Gwel Actau xi. 28.

**Efe a ddywedodd**; gyda phwyslais ar y gair "efe." Ond ymha le y dywed yr Arglwydd hyn? Ymddengys i mi mai dyfynu geiriau Moses am yr Arglwydd y mae yr awdwr, y rhai hefyd a ddywed yr Arglwydd ei

roddaf di i fynu, ac ni'th lwyr-adawaf chwaith: Fel y gallom 6
ddywedyd yn hŷf, Yr Arglwydd *sydd* gymmorth i mi, ac nid
ofnaf beth a wnel dyn i mi. Meddyliwch am eich blaenoriaid, 7
y rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y rhai dilynwch,

---

hun wrth Josua. Gwel Deut. xxxi. 6—8; Jos. i. 5. Y mae fod Moses yn dyweyd hyn am yr Arglwydd ynddo ei hun i feddwl yr awdwr yr un peth â bod yr Arglwydd ei hun yn ei ddyweyd. Ond y mae Duw yn mabwysiadu y geiriau fel ei eiddo ei hun pan lefara wrth Josua. Nid oes dim pwys yn y dygwyddiad fod y geiriau i'w cael yn Philo. Nid oddiwrtho ef y benthyca yr awdwr hwynt; oblegid nid yw o gwbl yn ystyried Philo yn brophwyd ysbrydoledig, ac ar awdurdod ysgrythyr y gorphwysa ei ymresymiad.

**Ni'th roddaf di i fyny.** Efallai y byddai "ni'th ollyngaf" yn well cyfieithiad.

**Ni'th lwyr adawaf.** Gocheler rhag rhoddi pwyslais ar "lwyr." Yr un gair sydd yn x. 25.

**ADN. 6.**—Dyfyniad o Salm cxviii. 6. Sylwa Westcott fod y Salm hon yn llanw lle mawr yn y gwasanaeth ar y gwyliau Iuddewig. Gwell gadael allan y gair "ac," a darllen fel y gwna y Bibl Cymraeg yn y Salm: "Yr Arglwydd sydd gymhorth i mi. Nid ofnaf. Beth a wna dyn i mi?"

**ADN. 7.**—Nis gallaf lai na meddwl fod cyssylltiad rhwng y geiriau hyn â'r adn. flaenorol. "I'ch cadw rhag diffyg ymddiried yn Nuw yn eich pryder am eich amgylchiadau, meddyliwch am eich arweinwyr gynt, y rhai ni roddasant eu bryd ar gasglu cyfoeth ond a ymroisant i lefaru i chwi air Duw; craffwch ar ddiwedd eu gyrfa, cofiwch eu merthyrdod, ac yna efelychwch hwynt mewn ffydd i ymddiried yn Nuw."

**Cofiwch.** Ni chynwysir yn y gair unrhyw awgrymiad fod yr arweinwyr hyn wedi meirw. Ceir yr un anogaeth yn "Nysgeidiaeth y Deuddeg Apostol" gyda golwg ar y byw: "Cofia ddydd a nos yr hwn sydd yn traethu i ti air Duw, ac anrhydedda ef megis yr Arglwydd."

**Eich blaenoriaid.** Cyfieithiad yr Esgob Davies ydyw, "eich preladiaid." Cafodd ef o gyfieithiad Jerom. Dichon ei fod yn tueddu i ystyried mai y byw a olygir yma gan ofn rhoddi unrhyw achlysur i athrawiaeth y Pabyddion am fath o addoliad i'r meirw. Ond yn adn. 22 y ceir cyfeiriad at y rhai oedd eto yn fyw o'u harweinwyr. Golyga y gair arweiniad swyddogol, er na ddaeth yn enw swyddogol yn yr eglwys, fel y daeth yr enw cyferbyniol "diaconiaid," ystyr yr hwn ydyw y rhai sydd yn dilyn yr arweinwyr.

**Y rhai a draethasant i chwi air Duw.** Hwn yw y rheswm paham yr haeddant gael eu cofio ganddynt. Yr oedd "traethu gair Duw" yn enw cyffredin am bregethu yr efengyl. Gwel Actau iv. 31; viii. 25; xiii. 46. Gellid meddwl fod yr ymadrodd yn fwy tyner a pharchus gyda golwg ar yr Hebreaid, y rhai oedd ganddynt eisoes air Duw yn yr Hen Destament, na'r gair "pregethu," yr hwn a olyga "gyhoeddi cenadwri," neu y gair "efengylu," yr hwn a arwydda "dwyn newydd da."

**Gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt.** Ystyr y gair a gyfieithir "ystyried" ydyw "craffu yn fanwl," ac ystyr y gair a gyfieithir "diwedd" ydyw "mynediad allan," fel diangfa byddin allan trwy fwlch yn y mynyddoedd (1 Cor. x. 13). Diau mai at ddiwedd eu bywyd y cyfeirir, ond geilw yr awdwr eu marwolaeth yn "fynediad allan" yn fwriadol, i ddangos eu dyogelwch a'u gorfoledd ar ol peryglon bywyd, a'u merthyrdod. Gair arall o gyffelyb ystyr arferir am fynediad allan yr Israeliaid o'r Aipht, sef *exodus*, ac am angau Crist (Luc ix. 31). Drachefn

8 gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt. Iesu Grist,
9 ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd. Na'ch arweinier oddi
amgylch âg athrawiaethau amryw a dïeithr: canys da *yw* bod

---

yn fwriadol y defnyddir y gair "ymarweddiad" yn lle "bywyd," i ddangos pa beth yn eu bywyd oedd yn peri fod eu mynediad allan ohono mor ogoneddus. Er nad yw y geiriau ynddynt eu hunain yn golygu fod yr arweinwyr hyn wedi eu merthyru, eto, os at eglwys Jerusalem yr ysgrifenwyd yr Epistol, gwyddom fod hyny yn ffaith. Gwel nodiad ar x. 33.

**Ffydd y rhai dilynwch**; yn hytrach, "efelychwch." Eu ffydd yn y gair a draethent a'u galluogodd i ddyoddef merthyrdod.

**ADN. 8.**—Y mae cyssylltiad agos rhwng yr adn. hon a'r adn. flaenorol. Iesu Grist oedd gwrthrych ffydd y merthyron a gwreiddyn eu nerth. Ond y mae Iesu Grist yr un heddyw i ni ag ydoedd ddoe iddynt hwy; y mae yr un yn urddas ei Berson ac effeithiolrwydd ei aberth a'i eiriolaeth, ac am hyny yr un ydyw fel gwrthrych ffydd. Ychwanega yr awdwr, mewn tôn orfoleddus, mai yr un ydyw Iesu Grist yn oes oesoedd, gyda chyfeiriad haner cudd at yr hen oruchwyliaeth yr hon oedd ar drengu yn ninystr y ddinas sanctaidd. Nid yr ystyr ydyw fod Iesu Grist yn aros pan y mae yr arweinwyr yn marw; ac nid ymddengys i mi mai â'r adn. nesaf y dylid cyssylltu hon, yn lle â'r seithfed, fel pe amcan yr awdwr fuasai cyferbynu anghyfnewidioldeb Iesu Grist â'r athrawiaethau amryw a dyeithr. Yr un pryd, tybiaf mai y cyfeiriad at anghyfnewidioldeb Iesu Grist awgrymodd i'w feddwl y crybwylliad am yr athrawiaethau hyny. Gwelaf mai hwn yw golygiad Westcott.

**ADN. 9.—Na'ch arweinier oddiamgylch.** Y darlleniad cywir ydyw, "na'ch cluder heibio:" hyny yw, heibio i'r angorfa, sef Iesu Grist yr hwn sydd yr un ddoe a heddyw. Cymharer nodiad ar ii. 1.

**Athrawiaethau.** Y mae pwyslais ar y gair. Cyferbynia yr awdwr athrawiaethau neu olygiadau hwn a'r llall â pherson arosol Iesu Grist.

**Amryw**; mewn cyferbyniad i unoliaeth y cwbl a ddysgir gan Iesu Grist. Am ei fod ef yr un, y mae ei ddysgeidiaeth yn un. Ond cyfnewidia golygiadau dynion drachefn a thrachefn.

**Dyeithr**; mewn cyferbyniad i'r ffynonell awdurdodedig o bob gwirionedd athrawiaethol, sef Iesu Grist. Y mae pob athrawiaeth nad yw yn deilliaw ohono ef megis nwyddau tramor, wedi eu cludo i'r eglwys o ryw wlad arall.

Dywedir wrthym yn y geiriau dilynol beth oedd natur yr athrawiaethau amryw a dyeithr.

**Canys da yw bod y galon wedi ei chryfhau a gras, nid a bwydydd.** Y mae yn eglur fod a fyno yr athrawiaethau amryw a dyeithr â bwydydd; a dengys hyn mai rhyw ffurf neu arall ar olygiadau Iuddewig ar gyssylltiad bwydydd âg aberth sydd yn meddwl yr awdwr. Ond nis gall ei fod yn cyfeirio at y defodau cnawdol o berthynas i fwydydd a diodydd a osodasid gan Dduw ei hun trwy Moses. Pa fodd y gallasai yr awdwr alw y rhai hyn yn athrawiaethau dyeithr? Am yr un rheswm nis gallwn dderbyn y golygiad fod yr awdwr yn cyfeirio at y gwahaniaethau rhwng bwydydd a bwydydd,—y pwnc a adewir gan yr Apostol Paul, gyda rhyw gymaint o ddiystyrwch yn ei lais, i gydwybod pob dyn (Rhuf. xiv. 2). A phrin y soniasai yr awdwr am gryfhau y galon â bwydydd, pe ymatal *oddiwrth* fwydydd a olygai. Y mae Rendall wedi dangos ymha gyfeiriad yr ydym i chwilio am esboniad ar y geiriau. Amcan yr awdwr ydyw rhybuddio y Cristionogion rhag athrawiaethau dyeithrol yr Esseniaid, y rhai, er nad oeddynt yn Gristionogion, a wrthodasant aberthau

y galon wedi ei chryfhâu â gras, nid â bwydydd, yn y rhai ni
chafodd y sawl a rodiasant ynddynt fudd. Y mae gennym ni 10

---

cyfraith Moses ac a osodasant yn eu lle ddefodau newyddion. Ystyrient eu bod yn cyflwyno yr aberth a ryngai fodd Duw wrth fwyta eu hymborth beunyddiol, ac mai llywydd eu cymdeithas oedd y gwir offeiriad. Rhybuddia awdwr yr Epistol ei ddarllenwyr rhag yr athrawiaethau dyeithrol hyn; oanys yr oeddynt mor hollol anghyson â'r athrawiaeth a ddysgir yn yr Epistol am aberth ac offeiriadaeth Crist ag oedd defodau yr hen oruchwyliaeth ei hun; ïe, yn fwy anghyson na hwy.

Wrth y galon y golygir y gydwybod, fel yn x. 22. Yn lle "cryfhau" dichon mai gwell fyddai darllen "sefydlu;" oblegid nid yr un gair sydd yma ac yn 1 Thess. iii. 13. "Cryfhau y gydwybod" ydyw ei gwneyd yn alluog i iawn farnu pa beth sydd mewn gwirionedd yn dda neu yn ddrwg mewn ystyr moesol. Ond "sefydlu y gydwybod" ydyw ei thawelu, symud yr euogrwydd. Gwel 1 Ioan iii. 19—21, lle y sonir am "berswadio" y gydwybod, fel na byddo iddi gondemnio ac y caffom ninau, trwy ei bod hi yn peidio condemnio, hyder tuag at Dduw. I'r un perwyl y dywed awdwr yr Epistol yn y lle hwn, mai nid trwy fwydydd y gallwn sefydlu ein cydwybod a symud yr euogrwydd, ond trwy ras Duw, yr hwn sydd wedi gosod Crist i farw dros bob dyn (ii. 9). Gwel Eph. ii. 8. Geilw yr awdwr y drefn ddwyfol a grasol hon i sefydlu y gydwybod yn "dda." Ystyr y gair "da" yn yr adnod hon ydyw "prydferth," "anrhydeddus," "ardderchog." Y mae yn beth hardd tawelu euogrwydd y gydwybod trwy ras; ac y mae yn beth isel-wael a dirmygus ceisio ei thawelu trwy fwydydd. Y mae hyn yn waelach na cheisio ei chymodi â gwaed lloi a bychod geifr.

**A rodiasant ynddynt**; yn hytrach, "a rodiant ynddynt." Ystyr yr ymadrodd "rhodio ynddynt" ydyw "ymroddi iddynt." Gwel Eph. ii. 10, adnod sydd yn profi nad oes dim tebyg i ddirmyg yn ymguddio yn y gair. Ond y mae yn werth sylwi, tra y cymmerir y gair a gyfieithir "ymarweddiad" yn adn. 7 oddiwrth fyned a dyfod prysur dinasoedd y Groegiaid, cymmerir y gyffelybiaeth sydd yn y gair "rhodio," pan y defnyddir ef am fywyd dynion, oddiwrth deithiau maith y dwyrain ar draed dros fryniau a chreigiau; ac ymguddia yn yr ymadrodd y syniad o ymdrech i gyrhaedd amcan trwy anhawsderau.

**Ni chawsant fudd**; hyny yw, ni chawsant unrhyw fudd; llawer llai y cawsant sefydlogrwydd i'w cydwybod.

**ADN. 10.**—Wrth geisio egluro ystyr yr adn. anhawdd hon, ymddengys i mi fod y pethau canlynol yn lled sicr: 1. Mai y Cristionogion yw y rhai y dywedir yma fod ganddynt allor. Tuedda Dr. Thomas i dybied fod yr awdwr yn cymmeryd safle Iuddewig, i ddangos fod athrawiaeth yr Esseniaid, fod yr ymborth beunyddiol yn aberthau dros bechodau, yn groes, nid yn unig i Gristionogaeth, ond hyd yn nod i Iuddewiaeth. Ond y mae yn anmhosibl tybied fod yr awdwr yn gosod ei hun yn safle Iuddew anghredíniol i brofi ei bwnc; yn enwedig pan y mae efe ei hun, fel y mae yn eglur oddiwrth yr holl Epistol, wedi tori pob cyssylltiad âg Iuddewiaeth ac yn anog ei ddarllenwyr i hyny yn adn. 13. 2. Mai croes Crist a olygir wrth yr "allor." Profir hyn gan y cyfeiriad yn adn. 12 at Iesu yn dyoddef y tu allan i'r porth. Ond nid yw yr allor yn ddim ar wahan oddiwrth yr aberth a gyflwynir arni. Gan hyny, cynwysa y gair yn y lle hwn, nid Calfaria neu y groes fel man yn unig, ond, mewn ystyr ysbrydol, holl haeddiant yr iawn a roddodd Crist dros bechaduriaid ar y groes. Pa un a

allor, o'r hon nid oes awdurdod i'r rhai sydd yn gwasanaethu y

---

oes cyfeiriad *hefyd* at Fwrdd yr Arglwydd sydd yn gwestiwn i'w benderfynu eto. Ond nid Swper yr Arglwydd ar wahan oddiwrth groes ac iawn Crist a olygir. 3. Mai nid ystyr y geiriau "nid oes *awdurdod*" ydyw nad yw y peth yn *bosibl*. Golyga Rendall mai ystyr yr adnod ydyw nas gellir bwyta yn llythyrenol o aberth Crist, fel y gellid o'r aberthau Iuddewig, am mai aberth *ysbrydol* ydyw. Ond, pe hyn fuasai yr ystyr, dylasai yr awdwr ddyweyd, "nis *gall*." Y mae yn wir fod rhyw gymaint o amheuaeth pa un yw y darlleniad cywir, pa un ai "nid oes awdurdod" ai "nis gallant." Ond y cyntaf yw y darlleniad a dderbynia Rendall ei hun. Heblaw hyny, y mae y syniad o fwyta aberth *Crist* yn llythyrenol yn sicr o fod yn syniad hollol anadnabyddus i'r eglwys apostolaidd. Tra yr ymddengys y pethau hyn yn lled sicr, y mae yn fwy anhawdd penderfynu dau gwestiwn arall. 1. Y naill ydyw, pa un ai yr offeiriaid Iuddewig ai credinwyr Cristionogol a olygir wrth "y rhai sydd yn gwasanaethu y tabernacl?" Ar y naill law, ymddengys braidd yn annaturiol galw Cristionogion yn wasanaethwyr y tabernacl. Yr un pryd y mae yn bosibl mai cymhariaeth ydyw y geiriau, fel pe gelwid credinwyr yn wasanaethwyr wrth allor Crist, sef y groes, fel y mae yr offeiriaid yn gweini i'r tabernacl, a cheir rhyw gymaint o ddadl yn mhlaid y golygiad hwn yn y desgrifiad o'r tabernacl yn y nawfed benod, fel *cysgod* y gwir gysegr, ac o'r offeiriaid, yn yr wythfed benod, yn gwasanaethu i siampl a chysgod y pethau nefol. Ar y llaw arall, os yr offeiriaid Iuddewig a olygir, paham y defnyddia yr awdwr y dull neillduol hwn o eirio? Yr unig atebiad boddhaol i'r gofyniad hwn ydyw fod yr awdwr yn cyfeirio at y ffaith fod yr offeiriaid weithiau yn "gyfranogion â'r allor;" hyny yw, fod rhai o'r aberthau na losgid ond rhan ohonynt, tra y rhoddid rhan i'r offeiriaid; ond fod aberth, sef y poeth-offrwm, yr hwn a losgid oll ar yr allor ac o'r hwn nad oedd awdurdod i'r offeiriaid oedd yn gwasanaethu i fwyta dim. Os at hyn y cyfeiria yr awdwr, yr ystyr ydyw nad oes gan yr offeiriaid Iuddewig awdurdod i fwyta o'r aberth ysbrydol sydd wedi ei offrymu ar allor Calfaria mwy nag sydd ganddynt awdurdod i fwyta o'r poeth-offrwm ar allor y tabernacl. Hwn yw golygiad Westcott. Ond, pe hyn fuasai yr ystyr, buasai yr awdwr yn sicr o ddyweyd, "y mae genym *ninau*," gyda phwyslais ar "ninau," er mwyn cyferbynu y ddwy allor. Ni chrybwyllir ac ni chyfeirir at ond un allor yn yr adnod. 2. Yr ail ymholiad ydyw pa un ai cydnabod ai gwadu y mae yr awdwr fod gan Gristionogion awdurdod i fwyta o'r allor? Os yr offeiriaid Iuddewig yw y rhai y dywed yr awdwr nad oes awdurdod ganddynt i fwyta o'n hallor ni, rhaid ateb y gofyniad hwn trwy ddyweyd mai yn hyn y gwel yr awdwr y gwahaniaeth rhyngddynt a Christionogion. Tra na chânt hwy, yr offeiriaid Iuddewig, fwyta o'r aberth ysbrydol a offrymwyd ar y groes, caiff credinwyr wledd o'r aberth hwnw. Ond yr anhawsder ydyw fod yr awdwr yn dyweyd yn yr adnod nesaf mai cyffelyb i'r pech-aberth ydoedd aberth Crist. Fel y llosgid y pech-aberth yn llwyr ar ddydd y cymod, felly y dyoddefodd Iesu. Gan hyny, nid oes neb i fwyta ohono. Nid yw unrhyw ran ohono yn ddefnydd gwledd. Nid yw neb yn "gyfranog â'r allor" yn yr aberth hwn. I Dduw yr offrymir yr oll ohono. I fy meddwl i y mae hyn yn penderfynu y cwestiwn. Y mae yn wir fod ochr arall i'r gwirionedd, a dygir yr ochr hono allan gan yr Apostol Paul yn 1 Cor. v. 7, lle yr anogir y credinwyr i gadw gŵyl, neu i wneyd gwledd, o'r pasg, sef Crist, yr hwn a aberthwyd drosom ni. Ond nid yw hyn yn peri nad oes gwir, ar y llaw arall, yn y syniad fod y pech-aberth yn gysgod o Grist. Tra y mae rhywbeth yn marwolaeth y groes o'r hwn y gall

tabernacl i fwytta. Canys cyrph yr anifeiliaid hynny, y rhai y 11

---

credinwyr gyfranogi, y mae rhywbeth arall ynddi o'r hwn nas gall neb, hyd yn nod yr eglwys Gristionogol, byth gyfranogi gyda Christ ei hun. Os na chaniateir hyn, nid yw y pech-aberth yn gysgod o Grist; ac eto at y pech-aberth y cyfeiria yr awdwr yma. Y gofyniad nesaf, gan hyny, ydyw, pa beth a olygir wrth "fwyta o'r allor?" Yr eglurhad a roddir gan yr esbonwyr ydyw mai derbyn y bendithion a sicrheir trwy yr aberth a olygir. Ond y mae hwn yn gam-gymmeriad; oblegid, pe felly, ni byddai unrhyw fendith yn dyfod trwy y pech-aberth dan y gyfraith, o'r hwn ni dderbyniai yr offeiriad na'r aberthwr ran. Nis gellir amheu fod yr offeiriad a'r aberthwr, wrth fwyta yr aberth cysegredig, yn cael eu hystyried fel yn cyfranogi o gysegredigrwydd yr aberth. Yr oedd yr aberth yn myned yn rhan o'r dyn ei hun, nes gwneyd ei holl natur megis yn gysegredig i Dduw. Ac y mae y gwirionedd hwn yn cael ei dderbyn mewn ffurf ysbrydol yn y Testament Newydd am gyfranogiad y credinwyr yn aberth Crist. Hwn yw ystyr Sacrament Swper yr Arglwydd; ac at hyn y cyfeiria yr awdwr yn adn. 15. Ar yr ochr arall, yr oedd aberth a losgid oll, ac o'r hwn ni fwytâi neb; ac yr oedd hwn hefyd yn gysgod o Grist. Y mae, gan hyny, ryw ffurf ar gysegredigaeth aberth y groes sydd yn perthyn i Grist yn unig. Ond pa beth all fod felly os nad ei gymmeriad iawnol? Ymddengys i mi, ar ol llawer o ystyriaeth, y gellir crynhoi ystyr ymresymiad yr adnod fel y canlyn: Yr oedd yr Esseniaid yn gwrthod defodau cyfraith Moses am eu bod yn ystyried fod y cyflawniad a'r sylwedd i'w cael yn yr athrawiaeth mai y gwir aberth a foddlona Dduw ydyw bywyd beunyddiol o ymataliadau a chyflawniadau. Ffurf arall ar yr hunangyfiawnder y dadleua yr Apostol Paul mor gryfed yn ei erbyn ydoedd Esseniaeth. Ymresymiad awdwr yr Epistol yn erbyn yr athrawiaeth hon ydyw fod *genym* ni, y Cristionogion allor. Nid ydym wedi ymwrthod â phob allor wrth adael Iuddewiaeth. (Rhodder pwyslais ar y geiriau "y mae genym.") A'r allor sydd genym ydyw y groes. Ar y groes rhoddodd Crist aberth drosom i Dduw. Ond nid oes neb i fod yn gyfranogion o'r cysegredigrwydd neillduol hwnw sydd yn gwneyd aberth Crist yn iawn drosom. Fel y llosgid y pech-aberth yn llwyr, a hyny y tu allan i'r gwersyll, felly dyoddefodd Crist y tu allan i borth Jerusalem; ac fel nad oedd ran yn weddill o'r pech-aberth i'r rhai a wasanaethent y tabernacl, felly nid oes ran yn nghysegredigrwydd iawnol aberth Crist yn weddill i'r rhai a wasanaethant wrth ei allor yntau. Dadleua Rendall nas gall fod yr awdwr yn bwriadu cymharu y groes i allor y tabernacl, oblegid fod yr allor *yn* y tabernacl a'r groes y tu allan i'r gwersyll. Ond rhaid cofio nad yw dameg neu gysgod yn cyfateb i'r gwrthgysgod ymhob peth. Digon i'r awdwr ydyw fod y cysgod yn dysgu un gwirionedd. Ond y mae yn deilwng o sylw fod gwaed y pech-aberth yn cael ei gymmeryd i'r cysegr sancteiddiolaf, ac hefyd mai yn y cyntedd, nid yn y cysegr, ac felly, mewn gwirionedd, nid *yn* y tabernacl o gwbl, yr oedd yr allor.

**ADN. 11.**—Prawf ydyw yr adn. hon fod cysgod dan y gyfraith o allor ac aberth anghyfranogol Crist; nid prawf, fel y myn Westcott, fod Cristionogion yn meddu awdurdod i fwyta yn ysbrydol o aberth Crist. Pa fodd y gall y ffaith na fwytâi neb o'r pech-aberth fod yn brawf fod Cristionogion yn bwyta o aberth Crist? At y pech-aberth ar ddydd y cymod y cyfeiria yr awdwr. Yr oedd pech-aberth o'r hwn y caniateid i'r offeiriaid fwyta (Lef. x. 17) ac yr oedd pech-aberth heblaw yr un a offrymid ar ddydd y cymod o'r hwn na chaniateid iddynt fwyta, sef y pech-aberth

dygir eu gwaed gan yr archoffeiriad i'r cyssegr dros bechod, a
12 losgir y tu allan i'r gwersyll. O herwydd paham Iesu hefyd,
fel y sancteiddiai y bobl trwy ei waed ei hun, a ddïoddefodd y

---

dros yr archoffeiriad a'r offeiriaid a'r pech-aberth dros yr holl bobl. Gwel Lef. iv. 3, 12; 13, 21.

**Anifeiliaid.** Sylwa Westcott mai yma yn unig yn yr holl Fibl y defnyddir y gair hwn am yr aberthau, ac awgryma mai amcan yr awdwr ydyw eu cyferbynu â'r dyn Iesu. Dichon fod gradd o ddiystyrwch yn y gair.

**Gan**; yn hytrach, "trwy." Gweithredai yr archoffeiriad fel cynrychiolydd y bobl ar ddydd y cymod. Felly y gweithredai yr Iesu ar y groes, dros ddynion. Efallai mai i ddangos hyn y defnyddia yr awdwr yr enw dynol "Iesu" yn yr adn. nesaf.

**A losgir.** Gwel Lef. xvi. 27, lle y cyfeirir, fel yn yr adn. hon, at ddydd y cymod.

**ADN. 12.—Oherwydd paham.** Nid ydym i dybied fod Iesu yn dyoddef y tu allan i'r porth *er mwyn* cyflawni y cysgod oedd yn y pech-aberth. Fel y dywed Iesu ei hun wrth Ioan Fedyddiwr, yr oedd rhyw "gyfiawnder" yn cael ei gyflawni yn yr amgylchiadau; a'r "cyfiawnder" hwn oedd sail y cysgod a'r gwrthgysgod hefyd. Gwel Matt. iii. 15.

**Fel y sancteiddiai.** Yn y gair hwn y mae yr awdwr yn dwyn i mewn yr ochr arall i'r gwirionedd, fel y sylwyd ar adn. 10, sef cyfranogiad y bobl yn aberth Crist. Tra, ar y naill law, yr oedd ei aberth yn gyffelyb i'r pech-aberth ar ddydd y cymod, trwy fod yn anghyfranogol, ar y llaw arall yr oedd yn gyffelyb i'r aberthau eraill dros bechod, o'r rhai y caniateid i'r offeiriaid fwyta a thrwy hyny gyfranogi o gysegredigrwydd yr aberth ei hun. Fel iawn, i Grist ei hun yn unig y perthynai yr aberth; ond y mae yr iawn hwnw yn ffynonell sancteiddrwydd neu gysegredigaeth ei bobl. Oblegid hyn y defnyddir y gair "pobl" yn y lle hwn, yn yr ystyr o bobl cysegredig, y gwir Israel. Ar sail y cysegriad hwn, y maent i gadw gŵyl ac i offrymu aberth moliant, adn. 15.

**Ei waed ei hun**; mewn gwrthgyferbyniad i "waed arall." Gwel nodiad ar ix. 25. Fel hyn yr oedd Iesu yn ei aberth yn cyflawni cysgod y pech-aberth yn y ddau beth a berthynai iddo, sef taenelliad y gwaed gan yr archoffeiriad yn y sancteiddiolaf a llwyr-losgiad corph yr anifail y tu allan i'r gwersyll. Cofier o hyd mai at bech-aberth dydd y cymod y cyfeirir, pan daenellid y gwaed yn y sancteiddiolaf. Ar achlysuron eraill taenellid gwaed y pech-aberth, weithiau ar allor y poeth-offrwm yn y cyntedd, weithiau yn y cysegr tua llen y sancteiddiolaf. Ond nid at yr achlysuron hyny y mae y cyfeiriad yn yr adn. hon.

**A ddyoddefodd.** Ymddengys i mi yn eglur mai marwolaeth Crist ar y groes yn unig a feddylir yma. Ond esbonia Westcott mai wedi claddu yr Iesu yn y bedd y cyflawnwyd y cysgod o lwyr-losgiad y pech-aberth y tu allan i'r gwersyll. Gwell genyf o lawer ystyried fod y cysgod yn cael ei hollol gyflawni yn ngwirioneddolrwydd marwolaeth Crist. Fel y sylwyd fwy nag unwaith, nid yw yr amgylchiadau a ddygwyddodd rhwng ei angau a'i esgyniad yn dyfod o fewn cylch ymresymiad yr awdwr hwn, ond yn unig yn niweddglo yr Epistol, adn. 20. Nid wyf yn gallu credu fod eu cyfeiriad yn y lle hwn at y cyfnewidiad a gymmerodd le yn ei gorph o fod yn gorph anianol i fod yn gorph ysbrydol.

**Y tu allan i'r porth.** Y gair "porth" ydyw yr allwedd i ystyr yr alegori. Dinas Jerusalem ydyw y gwersyll. Croeshoeliwyd yr Iesu y tu allan i borth y ddinas fel gwaradwydd arno. Dyna ystyr y llef, "*Ymaith*

tu allan i'r porth. Am hynny awn atto ef o'r tu allan i'r gwer- 13
syll, gan ddwyn ei waradwydd ef. Canys nid oes i ni yma ddinas 14

---

âg ef;" hyny yw, allan o'r ddinas sanctaidd, fel esgymunbeth. Y mae yn ffaith nodedig nad esgymunwyd yr Iesu gan y Phariseaid, er iddynt esgymuno arall o'i achos, hyd nes y daeth awr ei farwolaeth. Ni feiddiodd neb ei esgymuno cyn hyny rhag ofn y bobl. Fel hyn trefnodd Duw i gysgodau y gyfraith gael eu cyflawni yn esgymundod yr Iesu.

**ADN. 13.**—Diau mai ystyr yr anogaeth ydyw ar iddynt adael Iuddewiaeth yn hollol ac am byth. Seilia yr awdwr yr anogaeth ar un o deimladau dyfnaf a goreu y natur ddynol, sef edmygedd o achubwr yn dyoddef ei waradwyddo. Ac nis gall fod amheuaeth fod gwaradwydd y groes wedi bod ac yn bod ymhlith y dylanwadau cryfaf o blaid Cristionogaeth.

**Awn ato ef**; yn llythyrenol ac yn well, "awn allan ato ef." Efallai fod y cynghor hwn yn cynwys ymadael yn llythyrenol o Jerusalem, fel y gwyddom oddiwrth yr hanesydd Eusebius i'r Cristionogion ymadael ychydig wythnosau cyn i'r waedd ofnadwy gael ei chlywed yn y Deml ar y Pentecost olaf o flaen dinystr y ddinas, "Ymadawn." Crybwyllir y llef hon gan Josephus, yr hanesydd Iuddewig, a chan y Rhufeiniwr Tacitus. Gwel Matt. xxiv. 15—28. Ond golyga y geiriau yn ychwanegol at hyn eu bod i adael Iuddewiaeth ac i ochel Esseniaeth. Y mae yn hynod mai yr un gair a ddefnyddia yr Apostol Paul wrth anog y Corinthiaid i gadw yn hollol glir oddiwrth Baganiaeth, 2 Cor. vi. 17. Ond y mae un gwahaniaeth nid annheilwng o sylw. Ystyr yr amseriad a ddefnyddia Paul (sef yr *aorist*) ydyw "deuwch allan ar unwaith;" ond yr amseriad presenol sydd yn yr adn. hon, "parhawn i ddyfod allan." Tybiaf mai yr ystyr ydyw, "Dilynwn yn nghamrau yr Iesu; aeth ef allan; parhawn ninau y weithred hono."

**Ato ef**; fel pe byddai Iesu eto ar y groes. Ac ar y groes y mae, o ran ei gwaradwydd. Felly, yr ydym, hyd yn nod ar y ddaear, yn myned at Grist mewn dau ystyr, yn ei waradwydd ac yn ei ogoniant. Gwel xii. 24.

**Y gwersyll.** Ni ddywed "y tu allan i'r porth." Nid digon hyny. Y mae Iuddewiaeth wedi troi gwersyll yn ddinas. Fel y sylwa Westcott yn rhagorol, amcanwyd Iuddewiaeth i fod yn gyfundrefn dros amser yn unig. Am hyny gelwir hi yma yn wersyll. Yr oedd yr Iuddewon wedi gwneyd dinas ohoni, a gosod ffurf arhosol ac amddiffynol ar yr hyn nad oedd i fod yn nghynllun Duw ond megis gwersyll symudol. Y mae y syniad hwn yn hollol yn cyfateb i'r hyn a ddywed yr awdwr yn y bedwaredd benod, nad oedd mynediad yr Israeliaid i Ganaan yn cyflawni holl gynwys addewid Duw am orphwysfa i'w bobl. Anoga yr awdwr ei ddarllenwyr yn awr, nid yn unig i adael dinas er mwyn gwersyll, ond hefyd i adael y gwersyll a myned allan i'r diffaethwch; i fod, nid yn unig yn bererinion, ond hefyd yn grwydriaid esgymunedig, yn ysgubion y byd.

**Gan ddwyn ei waradwydd.** Yr un gair a gyfieithir "dwyn" yma ag a gyfieithir "cynhal" yn i. 3, lle y sylwyd fod y gair yn golygu, nid ymgynhal yn unig dan bwysau, ond *cario* y pwysau, gyda chyfeiriad at symudiad ymlaen. Yn y lle hwn, gan hyny, y mae yn debygol fod gwaith yr Iesu yn dwyn ei groes o'r ddinas trwy y porth i Galfaria yn meddwl yr awdwr. Cariwn waradwydd Crist fel yr oedd Simon o Cyrene yn dwyn ei groes, Matt. xxvii. 32, lle y mae yr un gair, "a hwy yn myned allan," ag sydd yn yr adn. hon.

**ADN. 14.**—Nid rheswm ydyw yr adn. hon dros newid y gair yn yr adn. flaenorol o "dinas" i "gwersyll," fel pe dywedai, "canys gwersyll sydd genym, nid dinas arhosol." Oblegid anoga yr awdwr ei ddarllenwyr

15 barhaus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei disgwyl. Trwyddo
ef gan hynny offrymmwn aberth moliant yn wastadol i Dduw,
16 yr hyn yw ffrwyth *ein* gwefusau yn cyffesu i'w enw ef. Ond

---

i fyned allan hyd yn nod o'r gwersyll. Yn hytrach, yr ystyr yw fod yn ofynol gadael y gwersyll oherwydd fod gwersyll arosol yn myned yn ddinas, ac felly bydd Cristionogion mewn perygl o hyd o ymgartrefu ar y ddaear, os na symudant eu pabell yn barhaus. Er mwyn bod yn bererinion, rhaid ydyw iddynt fod yn grwydriaid. Yr hyn sydd yn gwneyd yn angenrheidiol iddynt fod yn bererinion, ac nid yn ddinasyddion, ar y ddaear, ydyw y ffaith mai yn y byd ysbrydol y mae eu dinasyddiaeth a'u cartref.

**Un i ddyfod**; yn hytrach, "yr un sydd i ddyfod," mewn gwrthgyferbyniad i'r Jerusalem ddaearol, yr hon yn fuan bellach a ddinystrir. Gwel nodiad ar xi. 10.

**Yn ei disgwyl**; yn hytrach, "yn ceisio yn ddyfal am dani," fel yn xi. 14; tra yr ydym yn myned allan yn wirfoddol ac yn gadael am byth y ddinas ddaearol.

**ADN. 15.—Trwyddo ef**; gyda phwyslais, fel y gwelir oddiwrth leoliad y geiriau yn y gwreiddiol. Gan ei fod ef yn Archoffeiriad sydd yn gallu cyflwyno ei waed yn y sancteiddiolaf pan y dyoddefa yr un pryd y tu allan i'r gwersyll, trwyddo ef, fel ein cynrychiolydd archoffeiriadol y bydd *pob* math o aberth a gyflwynir genym yn gymmeradwy. Iawn Crist sydd yn peri fod nid yn unig ein pechodau yn cael eu maddeu ond hefyd ein crefydd yn dderbyniol gan Dduw. Gwel 1 Pedr ii. 5, lle y desgrifir y credinwyr fel offeiriadaeth sanctaidd yn offrymu [yr un gair ag sydd yn yr adn. hon] aberthau ysbrydol, y rhai sydd yn gymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist.

**Offrymwn**; yn llythyrenol, "offrymwn i fyny;" hyny ydyw, codi yr aberth ar yr allor, fel y dywedir yn Iago ii. 21.

**Aberth moliant.** Am fod Crist yn offrymu ei hun fel pech-aberth drosom, anoga yr awdwr ei ddarllenwyr i offrymu aberth diolch. Mewn cyferbyniad i'r aberth dros bechod yr oedd yr aberth hedd. Dosberthid hwn i dri math, sef aberth diolch (Lef. vii. 12), adduned, ac aberth gwirfoddol (Lef. vii. 16). Wedi anog yr Hebreaid Cristionogol i adael y ddinas a'r gwersyll ac ystyried eu hunain fel esgymun bethau yn cyfranogi o waradwydd Crist, cynghora yr awdwr hwynt i fod yn ddiolchgar am y rhagorfraint o gael eu gwaradwyddo gyda Christ, ac i offrymu aberth diolch am y drugaredd hon; ac i wneyd hyny "yn wastadol," gan y byddant yn dwyn ei waradwydd ef tra y byddant ar y ddaear. Dyfyna yr esbonwyr eiriau y Rabbiniaid: "Daw amser pan y paid pob aberth oddigerth aberth diolch." Gwel Salm liv. 6; lvi. 12; cxvi. 17—19; Jer. xxxiii. 11.

**Yr hyn yw.** Eglura yr awdwr mai "ffrwyth gwefusau" a olyga wrth "aberth moliant." Yn lle anifail a bwyd-offrwm (bara lefeinllyd a dilefeinllyd) a diod-offrwm (Lef. vii. 11, &c.), yr aberth diolch a ofynir genym ni ydyw ein gwefusau. O gyfieithiad y Deg a Thriugain o Hos. xiv. 2. y cymer yr awdwr yr ymadrodd "ffrwyth gwefusau," lle y ceir yn yr Hebraeg, fel yn y cyfieithiad Cymraeg, "lloi gwefusau." Yr un aberth diolch a olygir, ond yn unig fod yr Hebraeg yn son am un ran o'r aberth, sef yr anifail, a'r Deg a Thriugain am y rhan arall, sef ffrwyth y ddaear. Wrth "loi ein gwefusau" neu "ffrwyth ein gwefusau" yr ydym i ddeall, y lloi a'r ffrwyth sydd yn gynwysedig mewn gwefusau. Ein gwefusau ydyw yr aberth. Gwel Es. lvii. 19.

**Yn cyffesu**; neu, "yn proffesu." Gwel nodiad ar x. 23. Fel yn y ddegfed benod, felly yma, ni a gawn ddau brif syniad yn anogaeth yr

gwneuthur daioni, a chyfrannu, nac anghofiwch: canys â chyf-
ryw ebyrth y rhyngir bodd Duw. Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, 17

---

awdwr, sef dyfodfa at Grist ac arddeliad o'i enw. Y ddau beth hyn sydd yn nodweddu Cristionogion pan y deuant allan ohonynt eu hunain, fel yr anoga yr awdwr yr Hebreaid i wneyd; ac ymddibyna y naill o'r pethau hyn ar y llall. Os gall Cristion ddyfod allan ohono ei hun nes dyfod i agosrwydd cymundeb at Dduw yn Nghrist, nid anhawdd fydd iddo broffesu Crist ger bron dynion. Yn yr adnodau hyn anogir hwynt i ddyfod ato y tu allan i'r gwersyll, a chan ddwyn ei waradwydd ddal proffes eu gobaith yn ddisigl hyd at aberthu moliant i'w enw. Wrth ei "enw" y golygir yr hyn y mae efe wedi datguddio ei fod ef ei hun, yn nghanol yr holl waradwydd a deflir arno gan ddynion.

**ADN. 16.**—Ond nac anghofiant, yn nghanol eu diolchgarwch i Dduw, wneuthur daioni i ddynion, yn enwedig i'w brodyr tlodion. Na feddylied neb fod ffrwyth gwefusau yn gwneyd ffrwyth gweithredoedd yn ddiangenrhaid. Er eu bod eu hunain yn grwydriaid allan hyd yn nod o'r gwersyll, rhaid iddynt gyfranu tuag at anghenion y tlawd.

**Nac anghofiwch**; oblegid y mae y fath beth âg addoliad sydd mor lawn o hunan-foddhad nes peri anghofio cyfranu i'r tlodion. Gwel adn. 2, 3.

**Gwneuthur daioni.** Ceir yr un ymadrodd, mewn ffurf arall, yn Marc xiv. 7, am wneuthur daioni i'r tlodion. Ond ni ddylid cyfyngu ei ystyr. Y gwahaniaeth rhyngddo a "chyfranu" ydyw fod yr olaf yn cyfeirio yn fwy arbenig at roddion i frodyr tlodion. Cyssylltir y ddau beth yn fynych. Felly yn "Nysgeidiaeth y Deuddeg Apostol," dywedir, "Na thro ymaith oddiwrth yr hwn sydd mewn eisiau, ond cyfrana bob peth i'th frawd, ac na ddywed mai dy eiddo dy hun ydyw" (Pen. iv.).

**A'r cyfryw ebyrth**; hyny ydyw, nid âg ebyrth y gyfraith, ac nid ychwaith âg aberth moliant pan nad yw yn aberth mewn gwirionedd; ond â chyfryw aberth ag sydd yn gynwysedig o gyfuniad têg a gweddus o foliant i Dduw a thrugaredd i ddynion, yn enwedig i'r brodyr. Gwel 2 Cor. ix. 13.

**Ebyrth.** Nid ydynt yn ebyrth dros bechod. Dangosodd yr awdwr eisoes mai i'r Iesu yn unig y perthyn y rhai hyny. Y mae awdwr "Dysgeidiaeth y Deuddeg Apostol," gan hyny, yn cyfeiliorni pan y dywed, "Os oes genyt, trwy dy ddwylaw ti a roddi bridwerth tros dy bechodau" (Pen. iv.). Myned yn ol ydyw dywedyd fel hyn i athrawiaeth yr hen oruchwyliaeth. Gwel Dan. iv. 27, lle y mae y gair a gyfieithir "tor ymaith" yn golygu yn y Deg a Thriugain "prynu." Er hyny y maent yn ebyrth sydd yn rhyngu bodd Duw, ac yn sicrhau ei fendith. Y mae pwyslais i fod ar y gair "Duw," fel y dengys ei leoliad yn y gwreiddiol. Y mae y Duw sydd yn ffieiddio arogl-darth, ac nad ymhyfryda mewn gwaed bustych ac ŵyn a hyrddod, yn ymhyfrydu yn ei bobl pan y gwnant ddaioni, y ceisiant farn, y gwnant uniondeb i'r gorthrymedig a barn i'r amddifad. Gwel Es. i. 10—20.

**ADN. 17.**—Y mae gwahaniaeth rhwng "ufuddhau" ac "ymddarostwng." Ystyr y cyntaf yn y lle hwn ydyw, "Cymmerwch eich perswadio ganddynt;" hyny ydyw, dangoswch bob parodrwydd i dderbyn eu barn hwy fel eich barn chwi ar faterion yr eglwys. Y mae y gair yn cynwys fod cydymgynghoriad rhwng yr arweinwyr yn yr eglwys hon a'r aelodau. Ond golyga y gair a gyfieithir "ymddarostyngwch" eu bod i roi ffordd i awdurdod yr arweinwyr pan nas gall yr arweinwyr eu hargyhoeddi. Ystyr llythyrenol y gair ydyw "*to yield*," ac ni ddefnyddir ef yn yr Ysgrythyrau ond yn y lle hwn. Y mae y ddau air yn wahanol i'r geiriau a ddefnyddir

ac ymddarostyngwch: oblegid y maent hwy yn gwylio dros eich eneidiau chwi, megis rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif: fel y gallont wneuthur hynny yn llawen ac nid yn drist;

---

am ufudd-dod ac ymddarostyngiad plant i rieni, megis yn Luc ii. 51; Eph. vi. i.

**Eich blaenoriaid**; neu "eich arweinwyr." Peryglus fyddai tynu unrhyw gasgliad oddiwrth y gair am natur llywodraeth yr eglwys hon, ymhellach na bod rhywrai yn cymmeryd yr arweiniad ac yn hawlio, tra yn y swydd, ymostyngiad yr aelodau. Ond nid oes dim yn yr adn. hon i hysbysu pa fath lywodraeth eglwysig oedd gan yr Hebreaid. Y mae, pa fodd bynag, yn deilwng o sylw fod llawn cymaint o angen, fel yr ymddengys, cynghori yr eglwysi Cenhedlig â'r eglwys Hebreaidd i ymddarostwng i'w harweinwyr. Nid oedd eu llywodraeth mor sicr â llywodraeth yr apostolion. Er angraifft, cawn yr un cynghor yn "Nysgeidiaeth y Deuddeg Apostol," traethawd a ysgrifenwyd at Gristionogion ymhlith y Cenhedloedd: "Nac esgeuluswch hwynt," sef yr esgobion a'r diaconiaid.

**Oblegid y maent hwy yn gwylio**; yn hytrach, "canys hwynthwy sydd ar ddihûn yn gwylio." Golyga y gair, nid gwaith y gwyliwr, ond y deffroad sydd ynddo wrth wylio yn y nos; yn hollol y peth a elwir yn Saesoneg, "*to be on the alert.*" Felly yma, y mae yr arweinwyr oedd gan yr Hebreaid yn teilyngu iddynt ymddarostwng i'w hawdurdod, oblegid yr oeddynt yn effro yn eu gwaith yn gwylio dros eu heneidiau hwynt. Dyma ystyr y pwyslais sydd i fod ar y gair "hwynt-hwy." Apelia yr awdwr nid at awdurdod y swydd, ond at yni personol y gwylwyr yn cyflawni gwaith y swydd. Yr oedd yr aweinwyr hyn yn yr ysbryd yr anogai Crist ei ddisgyblion i ymgyrhaedd ato, yn ei gynghorion diweddaf iddynt. Gwel Matt. xxiv. 42; xxv. 13.

**Dros eich eneidiau chwi.** Paham na ddywed yr awdwr "drosoch chwi?" I ddangos, mi a dybiaf, fod y gwylwyr yn teimlo pwysigrwydd eu gwaith. Caffaeliad enaid neu golli enaid oedd yn ymddibynu ar eu hymroddiad i'w gwaith. Gwel nodiad ar x. 39. Felly y gelwir Crist ei hun yn 1 Pedr ii. 25 yn "fugail ac esgob eich eneidiau."

**Megis rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif.** Amcan eglur y geiriau hyn ydyw dangos yr achos paham y mae yr arweinwyr mor effro yn gwylio dros eneidiau. Gwybod y maent eu bod ar fedr rhoddi cyfrif. Dichon fod yr awdwr yn ystyried dinystr buan y ddinas fel arwydd fod Crist yn dyfod ar fyrder i farn.

**Fel y gallont wneuthur hyny yn llawen, ac nid yn drist.** Dilyna lliaws o esbonwyr Dr. Owen yn ei olygiad, mai rhoddi cyfrif a feddylir yn y geiriau "gwneuthur hyny." Ond rhaid ei wrthod, oblegid fod amseriad y gair "gwneuthur" yn cynwys gwaith, ac nid un weithred. Gellir arall-eirio fel hyn: "fel y gallont ddal ati i wneyd hyny." Rhaid, gan hyny, mai at y gwaith o wylio y cyfeiria yr awdwr, ac nid at y weithred o roddi cyfrif. Rhaid cyssylltu y geiriau â'r anogaeth i ymddarostwng, nid â gwyliadwriaeth effro yr arweinwyr. Os ymddarostyngwch chwi iddynt, gallant wylio dros eich eneidiau gyda llawenydd; os nad ymddarostyngwch, gwyliant gyda thristwch, ac fe'u rhwystrir i raddau yn eu gwaith, fel na chewch chwi y budd oddiwrtho a gaech, pe yr ymostyngech iddynt.

**Yn drist**; neu, yn well, "gan ruddfan," "gan ocheneidio." Nid yw Iago v. 9 yn egluro y gair; canys ei ystyr yno ydyw "murmur."

**Difudd.** Nid yr ystyr ydyw y bydd eu gwaith yn gwrthod ymostwng i'w harweinwyr yn troi yn eu herbyn yn y farn, pan rydd yr arweinwyr

canys difudd i chwi *yw* hynny. Gweddïwch drosom ni: canys 18
yr ydym yn credu fod gennym gydwybod dda, gan ewyllysio
byw yn onest ym mhob peth. Ond yr ydwyf yn helaethach yn 19

---

eu cyfrif; ond, yn hytrach, ei fod yn golled ysbrydol iddynt. Y mae ysbryd anniddig a gwrthryfelgar yr aelodau yn rhwystro yr arweinwyr i wylio dros eu heneidiau yn effeithiol. Ond yr wyf yn cydnabod mai y golygiad arall a gynygir gan yr esbonwyr Groegaidd.

**ADN. 18.**—Buasai "gweddïwch dros eich arweinwyr" yn ymddangos yn gynghor hynod o gymhwys ar ol yr anogaeth i ymddarostwng iddynt yn yr adn. flaenorol. Y mae hyn yn fy nhueddu i dderbyn y syniad a gynygir gan Rendall a Dr. Thomas fod yr awdwr yn gosod ei hun ymhlith eu harweinwyr eglwysig, ac mai hwn yw y rheswm paham y defnyddia y rhif lliosog yn nechreu yr adn. yn gystal â'r rheswm hefyd paham y crybwylla yn yr adn. nesaf ei obaith y caiff ddychwelyd atynt ar fyrder. Llythyr gweinidog oddicartref, gan hyny, at ei eglwys ydyw yr Epistol hwn.

**Canys yr ydym yn credu**; yn llythyrenol, "canys yr ydym yn perswadio ein hunain." Y mae y ferf yn yr amseriad presenol, yr hwn sydd yn ddull mwy gostyngedig o lefaru na phe dywedasai, "yr ydym yn argyhoeddedig," fel y dywed yn vi. 9, wrth son am ei grediniaeth yn eu cylch hwy. Ond yma cyfeiria at ei grediniaeth am dano ei hun. Rhydd y cyfieithiad Cymraeg yr ystyr, er nad yw yn llythyrenol.

**Fod genym gydwybod dda.** Ond nid yr un gair a gyfieithir "da" yma ac yn 1 Tim. i. 5 a manau eraill; a'r ystyr ydyw, nid cydwybod wedi ei rhyddhau oddiwrth euogrwydd moesol, ond cydwybod "hardd," "anrhydeddus," un nad ymostynga i gyflawni budrwaith. Yr un gair mewn ffurf arall sydd yn niwedd yr adn. ac a gyfieithir "yn onest." Apelia eu gweinidog oddicartref at eu cydwybodau hwy i farnu ei gydwybodolrwydd ef a'i gyd-arweinwyr. Os ydynt yn argyhoeddedig eu bod yn meddu nodweddion gwir arweinwyr eglwys Crist, y mae hyny ynddo ei hun yn gymhelliad cryf iddynt i weddïo drostynt.

**Yn onest**; yn hen ystyr y gair, "gonest," y Lladin "*honestum.*" Y gair goreu yn awr ydyw "yn hardd." (Ar ol ysgrifenu hyn gwelais nodiad cyffelyb yn Westcott).

**Yn mhob peth**; neu "yn mhlith pawb." Tueddir fi i dderbyn y cyfieithiad hwn, am ei fod yn cynwys rheswm da dros iddynt weddïo drosto ef, yr hwn oedd efallai ar ei daith yn ymweled â Christionogion eraill, yn gystal a thros ei gyd-weinidogion oeddynt gartref.

**Byw**; yn hytrach "ymarweddu."

Awgrymir i ni oddiwrth yr adn. hon a'r adn. flaenorol beth oedd natur gwaith yr arweinwyr eglwysig. Gwnant waith efengylwyr a dysgawdwyr a chynghorwyr. Ar y llaw arall, awgrymir i ni oddiwrth yr adnodau hyn neu fanau eraill yn yr Epistol mai gwaith yr eglwys fel corph neu aelodau yr eglwys ar eu penau eu hunain oedd bedyddio (x. 22), gweddio (adn. 18), cyfranu (adn. 16), rhoi barn ar athrawiaethau (adn. 9), ac anogaethau (adn. 22). Y mae yn hynod mor debyg ydyw sefyllfa pethau yn yr eglwys Hebreaidd hon i'r hyn ydyw ymhlith y Cristionogion Groegaidd yr ysgrifenwyd "Dysgeidiaeth y Deuddeg Apostol" atynt, ryw haner can' mlynedd ar ol hyn.

**ADN. 19.—Yn helaethach.** Gellir cyssylltu y gair hwn â "dymuno" neu â "gwneuthur." Y cyntaf yw y mwyaf tebygol o fod y gwir ystyr. Golyga y gair, o'i gyssylltu felly, fod yr awdwr yn fwy pryderus am

dymuno gwneuthur o honoch hyn, i gael fy rhoddi i chwi
20 drachefn yn gynt. A Duw yr heddwch, yr hwn a ddug
drachefn oddi wrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr

---

lwyddiant eu gweddi drosto pan yr effeithia hyny arnynt hwy na phan nad effeithia ond yn unig arno ef ei hun a'i gyd-arweinwyr.

**I gael fy rhoddi i chwi drachefn yn gynt**; neu yn fwy llythyrenol, "fy adfer i chwi." Ymddengys y geiriau hyn ar yr olwg gyntaf fel yn awgrymu ei fod mewn carchar ar y pryd. Ond ni byddai y dybiaeth hon yn gyson âg adn. 23. Y mae yr un adn. yn erbyn y dybiaeth mai afiechyd oedd yn lluddias iddo ddychwelyd. Nid oes dim yn rhwystro i ni ddyfalu mai gyda gwaith yr Arglwydd yr ydoedd yn absenol oddiwrthynt, a'i fod yn hyderu y byddai eu gweddïau drosto yn hyrwyddo y gwaith ac yn agor y ffordd trwy hyny iddo ddychwelyd. Ond nis gellir gwneyd mwy na dyfalu. Hyn sydd eglur oddiwrth y geiriau, ei fod wedi bod gyda hwynt o'r blaen; a hyny, y mae yn debygol, fel un o'r arweinwyr.

**Yn gynt**; hyny ydyw, yn gynt nag y gallai efe ddisgwyl i'r rhwystrau ar ei ffordd i ddychwelyd gael eu symud ymaith yn ol trefn naturiol yr amgylchiadau, ar wahan oddiwrth weddïau yr eglwys.

**ADN. 20.**—Diwedda ei lythyr gyda gweddi drostynt. Ond y mae cyssylltiad agos rhwng y weddi a'r adn. flaenorol. Hyderai gael ei adfer iddynt i osod pethau yn eu lle yn yr eglwys. Ond teimla nad iddo ef y perthyn gwneyd hyny. Rhaid gofyn i Dduw eu perffeithio ymhob gweithred dda. Gan hyny, yn lle "A Duw," rhaid i ni ddarllen "Ond Duw;" a hwn ydyw y cyfieithiad cywiraf.

**Duw yr heddwch.** Dyoddefasai yr eglwys hon yn y dyddiau o'r blaen ymdrech mawr o helbulon; ond yr oedd hyny wedi myned heibio. Gwel x. 32. Nid oes dim ychwaith yn yr Epistol yn awgrymu fod ymraniadau yn yr eglwys. Yn hytrach, syrthni a musgrellni henaint oedd wedi eu goddiweddyd. Dymunai yr awdwr fod eu brawdgarwch i barhau, adn. 1. Oblegid hyn gwell yw deall y geiriau yn yr ystyr mwy cyffredinol a dwfn. "Arglwydd y lluoedd" ydyw Duw yn yr Hen Destament; "Duw yr heddwch" ydyw yn y Newydd. Fel y mae yr enw sydd arno yn yr Hen Destament yn dwyn i'r golwg ei nerth i amddiffyn ei bobl gysegredig, felly y mae yr ymadrodd sydd yn y Testament Newydd yn awgrymu yr holl syniadau sydd yn ymgasglu o amgylch y syniad o gymod a chysegriad i Dduw ar sail aberth. Dichon i'r awdwr gymmeryd yr enw "Duw yr heddwch" o Epistol Paul at y Rhufeiniaid (xv. 33; xvi. 20).

**Yr hwn a ddug drachefn oddiwrth y meirw**; yn hytrach, "yr hwn a ddug i fyny o blith y meirw." Y mae y cyferbyniad yn Rhuf. x. 6, 7, rhwng "dwyn i waered" a "dwyn i fyny" yn profi na ddylai y gair "drachefn" fod i mewn o gwbl. Golyga y gair a gyfieithir "oddiwrth" *(ek)* fod yr hwn a ddaeth i fyny wedi gadael y meirw eraill ar ol. Y mae pwys yn hyn pan yr eglurir yr ymadrodd "yr adgyfodiad *oddiwrth* y meirw," yr hwn yw adgyfodiad y cyfiawnion, a'r hwn sydd yn amgylchiad gwahanol i "adgyfodiad y meirw." Yn yr adn. hon yn unig y crybwyllir adgyfodiad Crist yn yr Epistol hwn; a da oedd cael y cyfeiriad hwn at y ffaith, onide buasai lliaws yn barod i ddyweyd fod yr awdwr yn ei gwadu neu yn anhysbys ohoni, oherwydd ei fod, fel y sylwyd o'r blaen, yn esgeuluso yn ei ymresymiad yr hyn oll a ddygwyddodd rhwng marwolaeth Crist a'i esgyniad ac yn desgrifio ei farwolaeth fel ei fynediad i'r cysegr nefol. Gellir ychwanegu fod yr unig gyfeiriad hwn at adgyfodiad Crist yn cael ei ddwyn i mewn mor hollol naturiol fel y mae yn ffurfio un o'r profion sicraf o wirionedd yr amgylchiad. Ond paham y crybwyllir

y defaid, trwy waed y cyfammod tragywyddol, A'ch per- 21

---

adgyfodiad yr Iesu yma? I ddangos ei fod yn Fugail mawr y defaid. Fel Archoffeiriad aeth i mewn i'r cysegr nefol ac yno y mae ac yr erys hyd ddydd y farn (ix. 28). Ond os nad adgyfododd hefyd oddiwrth y meirw, Archoffeiriad yn unig ydyw. Os adgyfododd, y mae yn Fugail a llywodraethwr ar ei eglwys. Diau fod yr esbonwyr yn gywir wrth ddyweyd fod yr awdwr yn benthyca geiriau Esaiah fel y cawn hwynt yn y Deg a Thriugain, lxiii. 11, "Pa le y mae yr hwn a ddug i fyny allan o'r môr fugail y defaid?" Sylwa yr esbonwyr fod dygiad Moses fel arweinydd plant Israel o'r Môr Coch yn gysgod o ddygiad Iesu i fyny o'r bedd. Ond Iesu oedd Bugail *mawr* y defaid. Rhagorai ar Moses, nid yn unig fel Mab, ond hefyd yn ngrym ei adgyfodiad. At ragoriaeth Iesu ar Moses y cyfeiria y gair "mawr," ac nid, mi a dybiaf, at ei ragoriaeth ar yr arweinwyr yn yr Eglwys Hebreaidd. Gwell ydyw peidio cyssylltu yr adn. â'r adnodau blaenorol. Gweddi yn cloi i fyny yr holl Epistol sydd yma.

**Yr hwn a ddug i fyny.** Weithiau priodola Crist ei adgyfodiad iddo ef ei hun. Gwel Ioan ii. 19, 21; x. 18. Ond priodolir ef hefyd i Dduw. Gwel Act. ii. 24; iii. 15; Rhuf. iv. 24; viii. 11; 1 Cor. vi. 14; xv. 15; Gal. i. 1; Eph. i. 20; Col. ii. 12; 1 Pedr i. 21. Fel ag y mae ei farwolaeth yn weithred o'i eiddo ef ei hun, ac eto, o angenrheidrwydd, yn cynwys elfen oddefol, felly y mae ei adgyfodiad hefyd, oblegid natur yr amgylchiad. Crist ei hun sydd yn sôn am ei adgyfodiad fel ei weithred bersonol ef ei hun. Ond yr oedd yn bwysig i'r apostolion ddwyn i sylw yr ochr arall, sef fod Duw wedi adgyfodi Iesu fel prawf o gymmeradwyaeth Duw i'w waith a'i angau.

**Trwy waed y cyfamod tragwyddol**; neu, yn hytrach, "yn ngwaed y cyfamod tragwyddol." Nid wyf yn teimlo nemawr o amheuaeth mai â'r geiriau "a ddug i fyny" y dylid cyssylltu y geiriau hyn, ac nid â'r geiriau "Bugail mawr." Profir hyn trwy eiriau y prophwyd, y rhai a fenthyca yr awdwr ac a gymhwysa, gyda rhai cyfnewidiadau, i'w amcan ei hun: "Trwy waed dy amod [hyny yw, dy gyfamod] y gollyngais dy garcharorion o'r pydew heb ddwfr ynddo," Zech. ix. 11. Yr oedd hyn yn gysgod addas o adgyfodiad Crist gan Dduw o'r bedd. Dywed Rendall fod cyssylltu y geiriau "yn ngwaed y cyfamod tragwyddol" â'r geiriau "dug i fyny" yn eu gwneyd yn ddiamcan. Ymddengys i mi yn hollol i'r gwrthwyneb. Un o brif syniadau yr Epistol ydyw y cyfamod newydd neu dragwyddol. Yma dywed yr awdwr mai trwy waed y cyfamod hwn yr adgyfodwyd Iesu, fel y dywedodd cyn hyn mai trwy ei waed yr aeth Iesu i mewn i'r cysegr. Yr oedd ei adgyfodiad megis yn rhagfynegu ei ail ymddangosiad. Ni fuasai yn adgyfodi o gwbl oni buasai fod ei waed yn gymmeradwy gan Dduw yn y sancteiddiolaf. Y mae ei adgyfodiad, gan hyny, yn sicrhad i'w eglwys yr ymddengys yr ail waith; ac oblegid hyny y gelwir ef yma yn gyfamod tragwyddol. Ni ddaw un ar ei ol.

**Ein Harglwydd Iesu**; hyny yw, "ein Harglwydd ni, sef Iesu." Felly yn Rhuf. x. 9 hefyd, cyssylltir y gyffes o Iesu fel Arglwydd â'r grediniaeth yn ei adgyfodiad gan Dduw.

**ADN. 21.—A'ch perffeithio.** Nid yr un gair sydd yma ag yn x. 1 a manau eraill. Ystyr llythyrenol y gair sydd yn yr adn. hon ydyw "dodrefnu," "adgyweirio" (fel yn Matt. iv. 21), "cyfanu," "cymhwyso." Awgryma hyn y gwahaniaeth rhwng y ddau air a gyfieithir "perffeithio" yn yr Epistol. Ystyr y naill *(teleioun)* ydyw perffeithio i'r cysegr ac i Dduw; ystyr y llall *(katartisai*, y gair sydd yn yr adn. hon), ydyw perffeithio i'r eglwys ar y ddaear, cymhwyso i waith. Perthyna y naill,

ddywedodd, Ni'th roddaf i fyny ddim ac ni'th adawaf o
gwbl; | fel y gallom ddywedyd yn galonog, Yr Arglwydd 6.
sydd gynorthwywr i mi; nid ofnaf; pa beth a wnel dŷn
i mi?

Daliwch i gofio eich arweinwyr, y rhai a lefarasant i 7.
chwi air Duw; a chan ystyried eilwaith a thrachefn
ddiwedd eu hymarweddiad, efelychwch eu ffydd. | Iesu 8.
Grist ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd. | Na ddyger 9.
chwi ar ŵyr âg athrawiaethau amryw a dieithr. Canys
hardd yw bod y galon wedi ei sicrhau â gras, nid â
bwydydd, yn y rhai ni leshawyd y rhai a rodient ynddynt.
| Y mae genym allor o'r hon nid oes awdurdod gan y 10.
rhai a wasanaethant y babell i fwyta. | Canys am yr 11.
anifeiliaid y dygir eu gwaed am bechod i'r cysegr [sancteiddiolaf]
trwy [law] yr Arch-offeiriaid, llwyr losgir cyrph
y rhai hyny y tu allan i'r gwersyll. | Oherwydd paham 12.
dyoddefodd Iesu hefyd, fel y sancteiddio ei bobl trwy ei
waed priod ei hun, y tu allan i'r porth. | Am hyny awn 13.
allan ato ef y tu allan i'r gwersyll, gan ddwyn ei waradwydd.
| Canys nid oes genym yma ddinas arhosol; ond 14.
yr ydym yn ddyfal yn ceisio yr un sydd i ddyfod. |
Trwyddo ef, gan hyny, codwn [ar yr allor] aberth moliant 15.
yn wastadol i Dduw, hyny ydyw ffrwyth gwefusau yn
proffesu i'w enw ef. | Ond nac anghofiwch y gwneuthur 16.
daioni a'r cyfranu, canys â'r cyfryw ebyrth y rhyngir
bodd Duw.

Parhewch i ufuddhau i'ch harweinwyr, ac ymostwng. 17.
Canys y maent hwy yn effro i wylio dros eich heneidiau,
fel rhai sydd i roddi cyfrif; fel y gwnelont hyn gyda
llawenydd, ac nid gan ochain; canys difudd i chwi yw
hyny.

Parhewch i weddio drosom. Canys yr ydym yn 18.
perswadio ein hunain fod genym gydwybod hardd-deg,
gan ewyllysio yn mhob peth fucheddu yn hardd. | Ac yn 19.
helaethach yr wyf yn [eich] hanog i wneuthur hyn fel y
caffwyf fy adfer i chwi ar fyrder.

Ond Duw y tangnefedd, yr hwn a ddug i fyny o blith 20.
y meirw fugail y defaid, y [bugail] mawr, yn ngwaed y

cyfamod tragywyddol, ein Harglwydd ni, Iesu, | a'ch 21.
perffeithio yn mhob daioni hyd nes gwneuthur [ohonoch]
ei ewyllys ef, gan weithredu ynom yr hyn sydd yn rhyngu
bodd ger ei fron ef trwy Iesu Grist. I'r hwn y byddo y
gogoniant yn oes oesoedd. Amen.
Eich hanog yr wyf, frodyr; goddefwch air yr anogaeth. 22.
Canys ar fyr eiriau yr anfonais atoch.
Bydded hysbys i chwi* ollwng yn rhydd ein brawd 23.
Timotheus, gyda'r hwn, os daw ar fyrder, y gwelaf chwi.
|Anerchwch eich holl arweinwyr a'r holl saint. Y mae 24.
y rhai o'r Ital yn eich hanerch.
Gras fyddo gyda chwi oll. Amen. 25.

* Neu: "chwi a wyddoch."




ARGRAFFWYD GAN D. W. DAVIES & CO., SWYDDFA'R "GENEDL," CAERNARFON.

